Cyn CRIST 1451.

i beri i'w enw aros ynddo; yno y
dygwch yr hyn oll yr ydwyf fi yn ei
orchymyn i chwi; *sef* eich poeth-
offrymmau, a'ch aberthau, eich deg-
ymmau, a dyrchafael-offrwm eich
[3] Heb. *a holl ddewis eich addunedau.*
llaw, [3]a'ch holl ddewis addunedau, y
rhai a addunedoch i'r ARGLWYDD.
12 A llawenhêwch ger bron yr
ARGLWYDD eich DUW; chwi, a'ch
meibion, a'ch merched, a'ch gweis-
ion, a'ch morwynion, a'r Lefiad *a
fyddo* yn eich pyrth chwi: canys
[h] pen. 10. 9.
[h]nid *oes* iddo ran nac etifeddiaeth
gyd â chwi.
13 Gwylia arnat rhag poeth-offrym-
mu o honot dy boeth-offrymmau ym
mhob lle a'r a welych:
14 Ond yn y lle a ddewiso yr AR-
GLWYDD o fewn un *o'th* lwythau di,
yno yr offrymmi dy boeth-offrym-
mau, ac y gwnei yr hyn oll yr yd-
wyf fi yn ei orchymyn i ti.
15 Er hynny ti a gei ladd a bwytta
cig yn ol holl ddymuniant dy galon,
yn ol bendith yr ARGLWYDD dy
DDUW, yr hon a rydd efe i ti, yn dy
[i] ad. 22.
holl byrth: [i]yr aflan a'r glân a fwytty
o hono, megis o'r iwrch a'r carw.
[k] Gen. 9. 4. Lef. 7. 26. a 17. 10. pen. 15. 23.
16 [k]Ond na fwyttêwch y gwaed; ar
y ddaear y tywelltwch ef fel dwfr.
17 ¶ Ni elli fwytta o fewn dy byrth
ddegfed dy ŷd, na'th win, na'th olew,
na chyntaf-anedig dy wartheg, na'th
ddefaid, na'th holl addunedau y rhai
a addunech, na'th offrymmau gwir-
fodd, na dyrchafael-offrwm dy law:
18 Ond o flaen yr ARGLWYDD dy
DDUW y bwyttêi hwynt, yn y lle a
ddewiso yr ARGLWYDD dy DDUW;
ti, a'th fab, a'th ferch, a'th was, a'th
forwyn, a'r Lefiad *a fyddo* yn dy
byrth di: llawenycha ger bron yr
ARGLWYDD dy DDUW yn yr hyn oll
yr estynech dy law arno.
[l] pen. 14. 27.
19 [l]Gwylia arnat rhag gadael y Lef-
[4] Heb. *dy holl ddyddiau.*
iad, [4]tra fyddech byw ar y ddaear.
20 ¶ Pan helaetho yr ARGLWYDD
[m] Gen. 15. 18. a 28. 14. pen. 11. 24. a 19. 8.
dy DDUW dy derfyn di, [m]megis y
dywedodd wrthyt, os dywedi, Bwyt-
tâf gig, (pan ddymuno dy galon
fwytta cig,) yn ol holl ddymuniad
dy galon y bwyttêi gig.
21 Os y lle a ddewisodd yr AR-
GLWYDD dy DDUW i roddi ei enw
ynddo, fydd pell oddi wrthyt; yna
lladd o'th wartheg, ac o'th ddefaid,
y rhai a roddodd yr ARGLWYDD i
ti, megis y gorchymynais i ti, a
bwytta o fewn dy byrth wrth holl
ddymuniad dy galon.
[n] ad. 15.
22 [n]Etto fel y bwyttêir yr iwrch a'r
carw, felly y bwyttêi ef: yr aflan a'r
glân a'i bwytty yn yr un ffunud.

Cyn CRIST 1451.

[o] ad. 16.
23 [o]Yn unig [5]bydd sicr na fwyt-
[5] Heb. *ymgryfhâ.*
tâech [p]y gwaed: canys y gwaed
[p] Lef. 17. 11, 14.
*yw* yr einioes; ac ni chei fwytta
yr einioes ynghyd â'r cig.
24 Na fwytta ef; ar y ddaear y
tywellti ef fel dwfr.
25 Na fwytta ef; fel y byddo
daioni i ti, ac i'th feibion ar dy ol,
pan wnelych yr uniawn y'ngolwg
yr ARGLWYDD.
26 Etto cymmer dy gyssegredig
*bethau* y rhai sydd gennyt, a'th
addunedau, a thyred i'r lle a ddew-
iso yr ARGLWYDD.
27 Ac [q]offrymma dy boeth-offrwm, [q] Lef. 1. 5, 9, 13.
(y cig a'r gwaed,) ar allor yr AR-
GLWYDD dy DDUW: a gwaed dy
aberthau a dywelltir wrth allor yr
ARGLWYDD dy DDUW; a'r cig a
fwyttêi di.
28 Cadw a gwrando yr holl eiriau
hyn yr ydwyf fi yn eu gorchymyn i
ti; fel y byddo daioni i ti, ac i'th
feibion ar dy ol byth, pan wnelych
*yr hyn sydd* dda ac uniawn y'ngol-
wg yr ARGLWYDD dy DDUW.
29 ¶ Pan ddinystrio yr ARGLWYDD
dy DDUW y cenhedloedd, y rhai yr
wyt ti yn myned attynt i'w medd-
iannu, o'th flaen di, a [6]dyfod o [6] Heb. *meddiannu, neu, etifeddu o honot hwynt.*
honot yn eu lle hwynt, a phres-
wylio yn eu tir hwynt:
30 Gwylia arnat [r]rhag ymfaglu o [r] pen. 7. 16.
honot ar eu hol hwynt, wedi eu din-
ystrio hwynt o'th flaen di; a rhag
ymorol am eu duwiau hwynt, gan
ddywedyd, Pa fodd y gwasanaeth-
odd y cenhedloedd hyn eu duwiau?
myfi a wnaf felly hefyd.
31 Na wna di felly i'r ARGLWYDD
dy DDUW: canys pob ffieidd-dra [7]yr [7] Heb. *yr Arglwydd, yr hwn oedd gâs ganddo.*
hwn oedd gas gan yr ARGLWYDD, a
wnaethant hwy i'w duwiau: canys
[s]eu meibion hefyd a'u merched a [s] Lef. 18. 21. a 20. 2. pen. 18. 10. Jer. 32. 35.
losgasant yn tân i'w duwiau.
32 Pob gair yr wyf fi yn ei orchy-
myn i chwi, edrychwch am wneuth-
ur hynny: [t]na chwanega atto, ac na [t] pen. 4. 2.
thyn oddi wrtho.

## PENNOD XIII.

1 *Y rhai a hudo i ddelw-addoliaeth,* 6 *er nesed a fônt i ti,* 9 *rhaid yw eu llabyddio.* 12 *Nad arbeder y dinasoedd lle y bo gau-dduwiaeth.*

PAN godo yn dy fysg di bro-
phwyd, neu freuddwydydd
breuddwyd, (a rhoddi i ti arwydd
neu ryfeddod,
2 A dyfod i ben o'r [a]arwydd neu [a] Edrych pen. 18. 22. Jer. 28. 9. Matt. 7. 22.
y rhyfeddod a lefarodd efe wrthyt,)

Cyn CRIST 1451.

gan ddywedyd, Awn ar ol duwiau
dïeithr, (y rhai nid adwaenost,) a
gwasanaethwn hwynt;
3 Na wrando ar eiriau y prophwyd
hwnnw, neu ar y breuddwydydd
breuddwyd hwnnw: canys yr ARGLWYDD eich DUW sydd yn eich
[b] profi chwi, i wybod a ydych yn
caru yr ARGLWYDD eich DUW â'ch
holl galon, ac â'ch holl enaid.
4 Ar ol yr ARGLWYDD eich DUW
yr ewch, ac ef a ofnwch, a'i orchymynion ef a gedwch, ac ar ei lais ef
y gwrandêwch, ac ef [c] a wasanaethwch, ac wrtho ef y glynwch.
5 A'r [d] prophwyd hwnnw, neu y
breuddwydydd breuddwyd hwnnw,
a roddir i farwolaeth; canys llefarodd [2] i'ch troi *chwi* oddi wrth yr ARGLWYDD eich DUW, yr hwn a'ch dug
chwi allan o dir yr Aipht, ac a'ch
gwaredodd chwi o dŷ y caethiwed,
i'th wthio di allan o'r ffordd, yr hon
y gorchymynodd yr ARGLWYDD dy
DDUW i ti rodio ynddi. [e] Felly y
tynni ymaith y drwg o'th fysg.
6 ¶ [f] Os dy frawd, mab dy fam, neu
dy fab dy hun, neu dy ferch, neu
[g] wraig dy fynwes, neu dy gyfaill, yr
hwn *sydd* fel dy enaid dy hun, a'th
annog yn ddirgel, gan ddywedyd,
Awn a gwasanaethwn dduwiau dïeithr, y rhai nid adnabuost ti, na'th
dadau;
7 *Sef rhai* o dduwiau y bobl *sydd*
o'ch amgylch chwi, yn agos attat,
*neu* ym mhell oddi wrthyt, o *un*
cwrr i'r tir hyd gwrr *arall* y tir:
8 Na chydsynia âg ef, ac na wrando
arno, ac nac arbeded dy lygad ef, ac
nac eiriach *ef*, ac na chela arno:
9 Ond [h] gan ladd lladd ef; bydded
[i] dy law di arno ef yn gyntaf, i'w
roddi i farwolaeth, a llaw yr holl
bobl wedi hynny.
10 A llabyddia ef â meini, fel y
byddo marw: canys ceisiodd dy
wthio di oddi wrth yr ARGLWYDD dy
DDUW, yr hwn a'th ddug di allan o
dir yr Aipht, o dŷ y [3] caethiwed.
11 A [k] holl Israel a glywant, ac a
ofnant, ac ni chwanegant wneuthur
y fath beth drygionus a hyn yn dy
blith.
12 ¶ Pan glywech am un o'th ddinasoedd, y rhai y mae yr ARGLWYDD
dy DDUW yn eu rhoddi i ti i drigo
ynddynt, gan ddywedyd,
13 [l] Aeth dynion, meibion [4] y fall,
allan o'th blith, a gyrrasant drigolion eu dinas, gan ddywedyd, Awn,

[b] pen. 8. 2. Edrych Matt. 24. 24. 1 Cor. 11. 19. 2 Thess. 2. 11. Dat. 13. 14.
[c] pen. 10. 20.
[d] pen. 18. 20. Jer. 14. 15. Zech. 13. 3.
[2] Heb. *dychweliad yn erbyn yr Arglwydd.*
[e] pen. 22. 21, 22, 24. 1 Cor. 5. 13.
[f] pen. 17. 2.
[g] Edrych Gen. 16. 5. pen. 28. 54. Diar. 5. 20. Mic. 7. 5.
[h] pen. 17. 7.
[i] Act. 7. 58.
[3] Heb. *caethion.*
[k] pen. 17. 13.
[l] 1 Ioan 2. 19. Jud. 19.
[4] Neu, *Belial.* Edrych Barn. 19. 22. 1 Sam. 2. 12. a 25. 25. 2 Cor. 6. 15.

gwasanaethwn dduwiau dïeithr, y
rhai nid adnabuoch;
14 Yna ymofyn, a chwilia, a chais
yn dda: ac wele, *os* gwirionedd *yw,*
*a* bod yn sicr wneuthur y ffieidd-dra
hyn yn dy fysg;
15 Gan daro taro drigolion y ddinas honno â min y cleddyf; [m] difroda
hi, a'r rhai oll *a fyddant* ynddi, a'i
hanifeiliaid hefyd, â min y cleddyf.
16 A'i holl yspail hi a gesgli i ganol
ei heol hi, ac a losgi y ddinas a'i holl
yspail hi yn gwbl, i'r ARGLWYDD dy
DDUW, â thân: felly bydded yn
garnedd byth; nac adeilader hi
mwy.
17 Ac [n] na lyned wrth dy law di
ddim o'r [5] dïofryd-beth: fel y dychwelo yr ARGLWYDD oddi wrth
angerdd ei ddig, ac y rhoddo i ti
drugaredd, ac y tosturio wrthyt, ac
y'th amlhao, megis y tyngodd wrth
dy dadau:
18 Pan wrandawech ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW, [o] gan gadw ei
holl orchymynion ef, y rhai yr wyf
fi yn *eu* gorchymyn i ti heddyw, gan
wneuthur *yr hyn sydd* uniawn yng
ngolwg yr ARGLWYDD dy DDUW.

## PENNOD XIV.

1 *Na ddylai plant Duw mo'u hanffurfio eu hunain wrth alaru.* 3 *Pa beth a ellir, a pha beth nis gellir ei fwytta,* 4 *o anifeiliaid,* 9 *o bysgod,* 11 *o adar.* 21 *Ni ellir bwytta yr hyn a fo farw ei hun.* 22 *Degymmau gwasanaeth Duw.* 23 *Y degymmau a'r cyntaf-anedig i ymlawenychu ger bron yr Arglwydd.* 28 *Degwm y drydedd flwyddyn yn elusen.*

PLANT *ydych* chwi i'r ARGLWYDD eich DUW: [a] na thorrwch mo honoch eich hunain, ac na
wnewch foelni rhwng eich llygaid,
dros y marw.
2 [b] Canys pobl sanctaidd *wyt* ti i'r
ARGLWYDD dy DDUW, a'r ARGLWYDD a'th ddewisodd di i fod
yn bobl unig iddo ef, o'r holl bobloedd *sydd* ar wyneb y ddaear.
3 ¶ Na fwytta ddim ffiaidd.
4 [c] Dyma yr anifeiliaid a fwyttêwch: eidion, llwdn dafad, a llwdn
gafr,
5 Y carw, a'r iwrch, a'r llwdn
hydd, a'r bwch gwŷllt, a'r [2] unicorn,
a'r [3] ŷch gwŷllt, a'r afr wŷllt.
6 A phob anifail yn hollti yr ewin,
ac yn fforchogi hollt y ddwy ewin,
*ac* yn cnoi cil, ym mysg yr anifeiliaid; hwnnw a fwyttêwch.
7 Ond hyn ni fwyttêwch, o'r rhai a
gnoant y cil, neu a holltant yr ewin
yn fforchog: y camel, a'r ysgyfarn-

Cyn CRIST 1451.

[m] Lef. 27. 28. Jos. 6. 17.
[n] pen. 7. 26.
[5] Neu, *peth melldigedig.*
[o] pen. 12. 25, 32.
[a] Lef. 19. 28. a 21. 5. Jer. 16. 6. a 41. 5. a 47. 5. 1 Thess. 4. 13.
[b] pen. 7. 6. a 26. 18.
[c] Lef. 11. 2, &c.
[2] Heb. *dishon.*
[3] *bual.*

Cyn CRIST 1451.

og, a'r gwningen: er bod y rhai hyn yn cnoi eu cil, am nad ydynt yn fforchogi yr ewin, aflan *ydynt* i chwi.

8 Yr hwch hefyd, er ei bod yn fforchogi yr ewin, ac heb *gnoi* cil, aflan *yw* i chwi: na fwyttêwch o'u cig hwynt, ac [d] na chyffyrddwch â'u burgyn hwynt.

d Lef. 11. 27.

9 ¶ [e] Hyn a fwyttêwch o'r hyn oll *sydd* yn y dyfroedd: yr hyn oll *sydd* iddo esgyll a chèn a fwyttêwch.

e Lef. 11. 9.

10 A'r hyn oll nid *oes* iddo esgyll a chèn, ni fwyttêwch: aflan *yw* i chwi.

11 ¶ Pob aderyn glân a fwyttêwch.

12 A dyma y rhai ni fwyttêwch o honynt: yr eryr, a'r wŷdd-walch, a'r fôr-wennol,

13 A'r bod, a'r barcut, a'r fwltur yn ei rhyw,

14 A phob cigfran yn ei rhyw,

15 A chyw yr estrys, a'r fran nos, a'r gog, a'r hebog yn ei ryw,

16 Aderyn y cyrph, a'r dylluan, a'r gogfran,

17 A'r pelican, a'r bïogen, a'r fulfran,

18 A'r ciconia, a'r crŷr yn ei ryw, a'r gornchwigl, a'r [f] ystlum.

f Lef. 11. 19.

19 A [g] phob ymlusgiad asgellog *sydd* aflan i chwi: na fwyttâer hwynt.

g Edrych Lef. 11. 21.

20 Pob ehediad glân a fwyttêwch.

21 ¶ Na fwyttêwch ddim a fo marw ei hun: dod ef i'r dïeithr *fyddo* yn dy byrth, a bwyttâed ef; neu gwerth *ef* i'r dïeithr: canys pobl sanctaidd *ydwyt* i'r ARGLWYDD dy DDUW. [h] Na ferwa fŷn yn llaeth ei fam.

h Exod. 23. 19. a 34. 26.

22 [i] Gan ddegymmu degymma holl gynnyrch dy had, *sef* ffrwyth dy faes, bob blwyddyn.

i pen. 12. 6, 17.

23 A bwytta ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW, yn y lle a ddewiso efe i drigo o'i enw ef ynddo, [k] ddegwm dy ŷd, dy win, a'th olew, a chyntaf-anedig dy wartheg, a'th ddefaid; fel y dysgech ofni yr ARGLWYDD dy DDUW bob amser.

k pen. 15. 19, 20.

24 A phan fyddo y ffordd ry hir i ti, fel na ellych ei ddwyn ef, *neu* os y lle fydd ym mhell oddi wrthyt, yr hwn a ddewiso yr ARGLWYDD dy DDUW i osod ei enw ynddo, pan y'th fendithio yr ARGLWYDD dy DDUW:

25 Yna dod *ei werth* yn arian; a rhwym yr arian yn dy law, a dos i'r lle a ddewiso yr ARGLWYDD dy DDUW:

26 A dod yr arian am yr hyn oll a [4] chwennycho dy galon; am wartheg, neu am ddefaid, neu am win, neu am ddïod gref, neu am yr hyn oll a ddymuno dy galon: a bwytta yno ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW, a llawenycha di, a'th deulu.

4 Heb. *ofyno dy galon gennyt.*

27 A'r [l] Lefiad yr hwn *fyddo* yn dy byrth, na wrthod ef: am [m] nad *oes* iddo *na* rhan nac etifeddiaeth gyd â thi.

l pen. 12. 19. m Num. 18. 20. pen. 18. 1.

28 ¶ [n] Ym mhen tair blynedd y dygi allan holl ddegwm dy gnwd y flwyddyn honno: a dyro *ef* i gadw o fewn dy byrth.

n pen. 26. 12.

29 A'r Lefiad, (am [o] nad oes iddo ran nac etifeddiaeth gyd â thi,) a'r dïeithr, a'r amddifad, a'r weddw, y rhai *fydd* yn dy byrth di, a ddeuant, ac a fwyttânt, ac a ddigonir; fel [p] y'th fendithio yr ARGLWYDD dy DDUW ym mhob gwaith a wnelych â'th law.

o ad. 27. p Edrych Mal. 3. 10.

## PENNOD XV.

1 *Y seithfed flwyddyn yn flwyddyn gollyngdod i'r tlodion:* 7 *etto nas dylai rwystro benthyccio neu roddi.* 12 *Gwas o Hebread,* 16 *oddi eithr iddo fod yn anfoddlawn i ymadael, sydd raid ei ollwng ymaith yn rhydd y seithfed flwyddyn; ond nid yn waglaw.* 19 *Rhaid yw cyssegru pob gwrryw cyntaf-anedig o'r anifeiliaid i'r Arglwydd.*

YM mhen [a] *pob* saith mlynedd gwna ollyngdod.

a Exod. 21. 2. a 23. 10. Lef. 25. 3, 4. Jer. 34. 14.

2 A dyma wedd y gollyngdod. Gollynged pob [2] echwynwr i'w gymmydog yn rhydd ei echwyn a echwynodd efe: na fynned *hynny* drachefn gan ei gymmydog, neu ei frawd; canys cyhoeddwyd gollyngdod yr ARGLWYDD.

2 Heb. *meistr echwyn ei law.*

3 [b] Ti a elli fynnu drachefn gan y dïeithr; ond gollynged dy law yn rhydd *yr hyn* sydd i ti gyd â'th frawd:

b Edrych pen. 23. 20.

4 [3] Megis na byddo o honot ti gardottyn: canys yr ARGLWYDD gan fendithio a'th fendithia di, yn y tir y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti yn etifeddiaeth i'w feddiannu;

3 *Ond pan na byddo.*

5 Yn unig os gan wrandaw y gwrandewi ar lais yr ARGLWYDD dy DDUW, gan gadw *a* gwneuthur yr holl orchymynion yma, y rhai yr ydwyf fi yn eu gorchymyn i ti heddyw.

6 Canys yr ARGLWYDD dy DDUW a'th fendithia, megis y llefarodd wrthyt, fel [c] y benthycciech i genhedloedd lawer, ac na fenthycciech di *ganddynt;* ti hefyd a arglwydd-

c pen. 28. 12, 44.

Cyn CRIST 1451.

iaethi ar genhedloedd lawer, ac nid arglwyddiaethant hwy arnat ti.

7 ¶ Os bydd yn dy fysg di un o'th frodyr yn dlawd o fewn un o'th byrth, yn dy dir yr hwn y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti, na chaleda dy galon, ac na chau dy law oddi wrth dy frawd tlawd:

8 [d] Ond gan agoryd agor dy law iddo, a chan fenthyccio benthyccia ddigon i'w angen ef, *yr hyn* fyddo arno ei eisieu.

9 Gwylia arnat, rhag bod yn dy galon [4] ddrwg [5] feddwl i ddywedyd, Agos yw y seithfed flwyddyn, blwyddyn y gollyngdod; a bod dy [e] lygad yn ddrwg yn erbyn dy frawd tlawd, rhag rhoddi iddo, a llefain o hono ef ar yr ARGLWYDD rhagot, a'i fod yn bechod i ti.

10 Gan roddi dod iddo, ac na fydded drwg gan dy galon pan roddych iddo: canys o achos y peth hyn y'th fendithia yr ARGLWYDD dy DDUW yn dy holl waith, ac yn yr hyn oll y dodych dy law arno.

11 Canys [f] ni dderfydd y tlawd o ganol y tir: am hynny yr ydwyf fi yn gorchymyn i ti, gan ddywedyd, Gan agoryd agor dy law i'th frawd, i'th anghenus ac i'th dlawd, yn dy dir.

12 ¶ [g] Os gwerthir dy frawd, Hebread, neu Hebrëes, i ti, a'th wasanaethu chwe blynedd; y seithfed flwyddyn gollwng ef yn rhydd oddi wrthyt.

13 A phan ollyngech ef yn rhydd oddi wrthyt, na ollwng ef yn wag:

14 Gan lwytho llwytha ef o'th braidd, ac o'th ysgubor, ac o'th winwryf: *o'r hyn* y'th fendithiodd yr ARGLWYDD dy DDUW, dod iddo.

15 A chofia mai gwas fuost yn nhir yr Aipht, a'th waredu o'r ARGLWYDD dy DDUW: am hynny yr ydwyf yn gorchymyn y peth hyn *i* ti heddyw.

16 Ond os dywed wrthyt, Nid âf allan oddi wrthyt; am ei fod yn dy hoffi di a'th dŷ; o herwydd bod yn dda arno ef gyd â thi:

17 [h] Yna cymmer fynawyd, a dod trwy ei glust ef, ac yn y ddor; a bydded *yn* was i ti byth: felly hefyd y gwnei i'th forwyn.

18 Na fydded caled gennyt ei ollwng ef yn rhydd oddi wrthyt, canys gwasanaethodd di werth [i] dau gyflog gweinidog, chwe blynedd:

[d] Matt. 5. 42. Luc 6. 34, 35.
[4] Heb. *Belial.* [5] Heb. *air.*
[e] pen. 28. 54, 56. Diar. 23. 6. a 28. 22. Matt. 20. 15.
[f] Matt. 26. 11. Ioan 12. 8.
[g] Exod. 21. 2. Jer. 34. 14.
[h] Exod. 21. 6.
[i] Edrych Es. 16. 14. a 21. 16.

a'r ARGLWYDD dy DDUW a'th fendithia yn yr hyn oll a wnelych.

19 ¶ [k] Pob cyntaf-anedig yr hwn a enir o'th wartheg, neu o'th ddefaid, yn wryw, a gyssegri di i'r ARGLWYDD dy DDUW: na weithia â chyntaf-anedig dy ychain, ac na chneifia gyntaf-anedig dy ddefaid.

20 [l] Ger bron yr ARGLWYDD dy DDUW y bwyttêi ef bob blwyddyn, yn y lle a ddewiso yr ARGLWYDD, ti a'th deulu.

21 [m] Ond os bydd anaf arno, *os* cloff neu ddall fydd, *neu arno* ryw ddrwg anaf *arall;* na abertha ef i'r ARGLWYDD dy DDUW.

22 O fewn dy byrth y bwyttêi ef: [n] yr aflan a'r glân ynghyd *a'i bwytty,* megis yr iwrch, ac megis y carw.

23 [o] Etto na fwytta ei waed ef; tywallt hwnnw ar y ddaear fel dwfr.

Cyn CRIST 1451.
[k] Exod. 13. 2. a 34. 19. Lef. 27. 26. Num. 3. 13.
[l] pen. 12. 7, 17. a 14. 23. a 16. 11, 14.
[m] Lef. 22. 20. pen. 17. 1.
[n] pen. 12. 15.
[o] pen. 12. 16, 23.

## PENNOD XVI.

1 *Gwyl y Pasc,* 9 *yr wythnosau,* 13 *y pebyll.* 16 *Rhaid i bob gwrryw offrwm, yn ol ei allu, ar y tair gwyl hyn.* 18 *Am farnwyr a barn gyfiawn.* 21 *Gwahardd llwynau a delwau.*

CADW [a] y mis Abib, a chadw Basc i'r ARGLWYDD dy DDUW: canys [b] o fewn y mis Abib y dug yr ARGLWYDD dy DDUW di allan o'r Aipht, [c] o hyd nos.

2 Abertha dithau yn Basc i'r ARGLWYDD dy DDUW, o ddefaid a [d] gwartheg, yn [e] y lle a ddewiso yr ARGLWYDD dy DDUW i drigo o'i enw ef yno.

3 [f] Na fwytta fara lefeinllyd gyd âg ef: saith niwrnod y bwyttêi gyd âg ef fara croyw, *sef* bara cystudd: (canys ar ffrwst y daethost allan o dir yr Aipht:) fel y cofiech ddydd dy ddyfodiad allan o dir yr Aipht holl ddyddiau dy einioes.

4 [g] Ac na weler gennyt surdoes yn dy holl derfynau saith niwrnod; ac [h] nac arhôed dros nos hyd y bore *ddim* o'r cig a aberthaist yn yr hwyr, ar y dydd cyntaf.

5 Ni elli [2] aberthu y Pasc o fewn yr un o'th byrth, y rhai y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn eu rhoddi i ti:

6 Ond yn y lle a ddewiso yr ARGLWYDD dy DDUW i drigo o'i enw ef ynddo; yno yr aberthi y Pasc yn yr hwyr, ar fachludiad haul, y pryd y daethost allan o'r Aipht.

7 Yna y rhosti, ac y bwyttêi ef, yn y lle a ddewiso yr ARGLWYDD dy DDUW: a'r bore y dychweli, ac yr âi i'th babellau.

[a] Exod. 12. 2, &c.
[b] Exod. 13. 4.
[c] Exod. 12. 29, 42.
[d] Num. 28. 19.
[e] pen. 12. 5.
[f] Exod. 12. 15, 19. a 34. 18.
[g] Exod. 34. 25.
[h] Exod. 12. 10.
[2] Neu, *ladd.*

Cyn CRIST 1451.

8 Chwe diwrnod y bwyttêi fara
croyw: ac ar y seithfed dydd *y mae*
[3]uchel-wyl i'r ARGLWYDD dy DDUW;
ni chei wneuthur gwaith *ynddo*.
9 ¶ [i] Cyfrif i ti saith wythnos: pan
ddechreuo y crymman ar yr ŷd, y
dechreui rifo y saith wythnos.
10 A chadw wyl yr wythnosau i'r
ARGLWYDD dy DDUW, âg offrwm
gwirfodd dy law, yr hwn a roddi,
megis y'th fendithio yr ARGLWYDD
dy DDUW.
11 A llawenycha ger bron yr AR-
GLWYDD dy DDUW, ti, a'th fab, a'th
ferch, a'th was, a'th forwyn, a'r Lef-
iad *a fyddo* o fewn dy byrth, a'r
dïeithr, a'r amddifad, a'r weddw,
*sydd* yn dy fysg, yn y lle a ddewiso
yr ARGLWYDD dy DDUW i drigo o'i
enw ef ynddo.
12 Cofia hefyd mai caethwas fuost
yn yr Aipht: a chadw a gwna y
deddfau hyn.
13 ¶ [k] Cadw i ti wyl y pebyll saith
niwrnod, wedi i ti gasglu dy [4] ŷd
a'th win.
14 A [l] llawenycha yn dy wyl, ti, a'th
fab, a'th ferch, a'th was, a'th for-
wyn, a'r Lefiad, a'r dïeithr, a'r am-
ddifad, a'r weddw, y rhai *fyddant*
o fewn dy byrth.
15 Saith niwrnod y cedwi wyl i'r
ARGLWYDD dy DDUW, yn y lle a
ddewiso yr ARGLWYDD: canys yr
ARGLWYDD dy DDUW a'th fendithia
yn dy holl gnwd, ac yn holl waith
dy ddwylaw; am hynny bydd di-
thau lawen.
16 ¶ [m] Tair gwaith yn y flwyddyn
yr ymddengys pob gwrryw *o* honot
o flaen yr ARGLWYDD dy DDUW,
yn y lle a ddewiso efe; ar wyl y
bara croyw, ac ar wyl yr wythnosau,
ac ar wyl y pebyll: ond [n] nac ym-
ddangosed neb o flaen yr ARGLWYDD
yn waglaw.
17 Pob un yn ol rhodd ei law, yn
ol bendith yr ARGLWYDD dy DDUW
yr hon a roddes efe i ti.
18 ¶ [o] Gwna i ti farnwyr a blaen-
orion yn dy holl byrth, y rhai y
mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn eu
rhoddi i ti trwy dy lwythau; a barn-
ant hwy y bobl *â* barn gyfiawn.
19 [p] Na ŵyra farn, *ac* na chydneb-
ydd wynebau; na dderbyn wobr
chwaith: canys gwobr a ddalla lyg-
aid y doethion, ac a ŵyra [5] eiriau
y cyfiawn.
20 Cyfiawnder, cyfiawnder a ddi-
lyni; fel y byddych fyw, ac yr eti-

[3] Heb. *gwaharddiad.*
[i] Exod. 23. 16. a 34. 22. Lef. 23. 15. Num. 28. 26.
[k] Exod. 23. 16. Lef. 23. 34. Num. 29. 12.
[4] Heb. *lawr-dyrnu, a'th winwryf.*
[l] Neh. 8. 9, &c.
[m] Exod. 23. 14, 17. a 34. 23.
[n] Exod. 23. 15. a 34. 20.
[o] 1 Chron. 23. 4. a 26. 29. 2 Chron. 19. 8.
[p] Exod. 23. 2, 6. Lef. 19. 15. Diar. 17. 8, 23. Preg. 7. 7.
[5] Neu, *achosion.*

feddych y tir yr hwn y mae yr
ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi
i ti.
21 ¶ Na phlanna i ti lwyn *o* neb
rhyw goed ger llaw allor yr AR-
GLWYDD dy DDUW, yr hon a wnei
i ti.
22 [q] Ac na chyfod i ti [6] golofn; yr
hyn sydd gas gan yr ARGLWYDD dy
DDUW.

## PENNOD XVII.

*1 Rhaid yw bod y pethau a offrymmir yn ddïanaf. 2 Rhaid yw lladd delw-addolwyr. 8 Ymrafaelion caled a fernir gan yr offeiriaid a'r barnwyr. 12 Yr hwn a ddïystyro y cyfryw farn, a roddir i farwolaeth. 14 Dewisiad, 16 a dyledswydd brenhin.*

NAC [a] abertha i'r ARGLWYDD dy
DDUW ŷch neu [2] ddafad y byddo
arno anaf, *neu* ddim gwrthuni:
canys casbeth yr ARGLWYDD dy
DDUW *yw* hynny.
2 ¶ [b] Pan gaffer yn dy blith di, o
fewn un o'th byrth y rhai y mae yr
ARGLWYDD dy DDUW yn eu rhoddi i
ti, wr neu wraig a wnaeth ddrygioni
y'ngolwg yr ARGLWYDD dy DDUW,
gan droseddu ei gyfammod ef,
3 Ac a aeth ac a wasanaethodd
dduwiau dïeithr, ac a ymgrymmodd
iddynt, i'r [c] haul, neu i'r lleuad, neu
i holl lu y nefoedd, yr hyn ni or-
chymynais;
4 Pan ddangoser i ti, a chlywed o
honot, yna cais yn dda: ac wele, os
gwirionedd *yw*, *a* bod yn sicr wneuth-
ur y ffieidd-dra hyn yn Israel;
5 Yna dwg allan y gwr hwnnw,
neu y wraig honno, a wnaethant y
peth drygionus hyn, i'th byrth, *sef*
y gwr neu y wraig, a [d] llabyddia
hwynt â meini, fel y byddont feirw.
6 [e] Wrth dystiolaeth dau o dyst-
ion, neu dri o dystion, y rhoddir i
farwolaeth yr hwn a fyddo marw:
na rodder ef i farwolaeth wrth
dystiolaeth un tyst.
7 [f] Llaw y tystion a fydd arno yn
gyntaf i'w farwolaethu ef, a llaw
yr holl bobl wedi hynny: [g] a thi a
dynni ymaith y drwg o'th blith.
8 ¶ [h] Os bydd peth mewn barn
yn rhy galed i ti, [i] rhwng gwaed
a gwaed, rhwng hawl a hawl, neu
rhwng [3] pla a phla, *mewn* pethau
ymrafaelus o fewn dy byrth; yna
cyfod, a dos i fynu i'r lle a ddew-
iso yr ARGLWYDD dy DDUW:
9 A [k] dos at yr offeiriaid y Lefiaid,
ac [l] at y barnwr a fyddo yn y dyddiau
hynny, ac ymofyn; a hwy a ddang-
osant i ti reol y farnedigaeth.

Cyn CRIST 1451.

[q] Lef. 26. 1.
[6] *ddelw.*
[a] pen. 15. 21. Mal. 1. 8.
[2] Neu, *afr.*
[b] pen. 13. 6.
[c] pen. 4. 19. Job 31. 26.
[d] Lef. 24. 14, 16.
[e] Num. 35. 30. pen. 19. 15. Matt. 18. 16. Ioan 8. 17. 2 Cor. 13. 1. 1 Tim. 5. 19. Heb. 10. 28.
[f] pen. 13. 9.
[g] pen. 13. 5.
[h] 2 Chron. 19. 10. Hag. 2. 11. Mal. 2. 7.
[i] Edrych Exod. 21. 13, 20, 22, 28. a 22. 2. Num. 35. 11, 16, 19. pen. 19. 4, 10.
[3] *dyrnod.*
[k] Edrych Jer. 18. 18.
[l] pen. 19. 17.

Cyn CRIST 1451.

10 A gwna yn ol rheol y gair a ddangosant i ti, o'r lle hwnnw a ddewiso yr ARGLWYDD; ac edrych am wneuthur yn ol yr hyn oll a ddysgant i ti.

11 Yn ol rheol y gyfraith a ddysgont i ti, ac yn ol y farn a ddywedont i ti, y gwnei: na chilia oddi wrth y peth a ddangosont i ti, i'r tu dehau nac i'r tu aswy.

12 [m] A'r gwr a wnel mewn rhyfyg, heb wrandaw ar yr offeiriad sydd yn sefyll yno i wasanaethu yr ARGLWYDD dy DDUW, neu ar y barnwr; yna rhodder i farwolaeth y gwr hwnnw: a thyn ymaith y drwg o Israel.

13 A'r holl bobl a glywant, ac a ofnant; ac ni ryfygant mwy.

14 ¶ Pan ddelych i'r tir y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti, a'i feddiannu, a thrigo ynddo, os dywedi, [n] Gosodaf arnaf frenhin, megis yr holl genhedloedd *sydd* o'm hamgylch:

15 Gan osod gosod arnat yn frenhin [o] yr hwn a ddewiso yr ARGLWYDD dy DDUW: [p] o blith dy frodyr y gosodi arnat frenhin; ni elli roddi arnat wr dïeithr yr hwn nid *yw* frawd i ti.

16 Ond nac amlhâed iddo [q] feirch, ac na [r] ddychweled efe y bobl i'r Aipht i amlhâu meirch; gan i'r [s] ARGLWYDD ddywedyd wrthych, [t] Na chwanegwch ddychwelyd y ffordd honno mwy.

17 Ac nac amlhâed iddo wragedd, fel [u] na ŵyro ei galon; ac nac amlhâed arian ac aur lawer iddo.

18 A phan eisteddo ar deyrn-gadair ei frenhiniaeth, ysgrifened iddo gopi o'r gyfraith hon mewn llyfr, allan [x] o'r *hwn sydd* ger bron yr offeiriaid y Lefiaid.

19 A [y] bydded gyd âg ef, a darllened arno holl ddyddiau ei fywyd: fel y dysgo ofni yr ARGLWYDD ei DDUW, i gadw holl eiriau y gyfraith hon, a'r deddfau hyn, i'w gwneuthur hwynt:

20 Fel na ddyrchafo ei galon uwch law ei frodyr, ac na chilio oddi wrth y gorchymyn, i'r tu dehau nac i'r tu aswy: fel yr estyno ddyddiau yn ei frenhiniaeth, efe a'i feibion yng nghanol Israel.

m Hos. 4. 4.
n 1 Sam. 8. 5.
o Edrych 1 Sam. 9. 15. a 10. 24. a 16. 12. 1 Chron. 22. 10.
p Jer. 30. 21.
q 1 Bren. 4. 26. a 10. 26, 28.
r Es. 31. 1. Ezec. 17. 15.
s Exod. 13. 17. Num. 14. 3, 4.
t pen. 28. 68. Hos. 11. 5. Edrych Jer. 42. 15.
u Edrych 1 Bren. 11. 3, 4.
x Edrych 2 Bren. 22. 8.
y Jos. 1. 8.

## PENNOD XVIII.

*1 Yr Arglwydd yw etifeddiaeth yr offeiriaid a'r Lefiaid. 3 Defod yr offeiriaid. 8 Rhan y Lefiaid. 9 Rhaid yw gochelyd ffieidd-dra y cenhedloedd. 15 Rhaid yw gwrandaw ar Grist y Prophwyd. 20 Rhoddi y prophwyd rhyfygus i farwolaeth.*

[a] NI bydd i'r offeiriaid, i'r Lefiaid, i holl lwyth Lefi, ran nac etifeddiaeth ynghyd âg Israel: ebyrth tanllyd yr ARGLWYDD, a'i etifeddiaeth ef, [b] a fwyttânt hwy.

2 Am hynny etifeddiaeth ni bydd iddynt ym mhlith eu brodyr: yr ARGLWYDD *yw* eu hetifeddiaeth hwy, megis ag y dywedodd wrthynt.

3 ¶ A hyn fydd defod yr offeiriaid oddi wrth y bobl, oddi wrth y rhai a aberthant aberth, *pa un bynnag* ai eidion ai dafad; [c] rhoddant i'r offeiriad yr ysgwyddog, a'r ddwy ên, a'r botten.

4 [d] Blaen-ffrwyth dy ŷd, dy win, a'th olew, a blaen-ffrwyth cnaif dy ddefaid, a roddi iddo ef.

5 Canys [e] dewisodd yr ARGLWYDD dy DDUW ef o'th holl lwythau di, i sefyll i wasanaethu yn enw yr ARGLWYDD, efe a'i feibion yn dragywydd.

6 ¶ A phan ddelo Lefiad o un o'th byrth di yn holl Israel, lle y byddo efe yn ymdaith, a dyfod â holl ddymuniad ei galon i'r lle a ddewiso yr ARGLWYDD;

7 Yna gwasanaethed efe yn enw yr ARGLWYDD ei DDUW, megis ei holl frodyr y Lefiaid, y rhai sydd yn sefyll yno ger bron yr ARGLWYDD.

8 Rhan am ran a fwyttânt, heb law gwerth yr hyn sydd yn dyfod oddi wrth *ei* dadau.

9 ¶ Pan elych di i'r tir y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti, na ddysg wneuthur yn ol ffieidd-dra y cenhedloedd hynny.

10 Na chaffer ynot a wnelo i'w fab, neu i'w ferch, [f] fyned trwy y tân; [g] *neu* a arfero ddewiniaeth, *na* phlanedydd, na daroganwr, na hudol,

11 [h] Na swynwr swynion, nac a geisio *wybodaeth gan* gonsuriwr, neu frudiwr, nac [i] a ymofyno â'r meirw:

12 O herwydd ffieidd-dra *gan* yr ARGLWYDD *yw* pawb a wnelo hyn; ac o achos y ffieidd-dra hyn y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn eu gyrru hwynt allan o'th flaen di.

13 Bydd [2] berffaith gyd â'r ARGLWYDD dy DDUW.

14 Canys y cenhedloedd hyn, y rhai a [3] feddienni di, a wrandawsant ar blanedyddion, ac ar ddewiniaid: ond am danat ti, nid felly y caniattaodd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti.

15 ¶ [k] Yr ARGLWYDD dy DDUW a gyfyd i ti, o'th blith dy hun, o'th

Cyn CRIST 1451.
a Num. 18. 20. pen. 10. 9.
b 1 Cor. 9. 13.
c Lef. 7. 30—34.
d Num. 18. 12, 24.
e Exod. 28. 1. Num. 3. 10.
f Lef. 18. 21.
g Lef. 19. 26, 31. a 20. 27. Es. 8. 19.
h Lef. 20. 27.
i 1 Sam. 28. 7.
2 Neu, *uniawn*, neu, *bur*.
3 Neu, *etifeddi*.
k Ioan 1. 45. Act. 3. 22. a 7. 37.

Cyn CRIST 1451.

frodyr dy hun, Brophwyd megis
finnau; arno ef y gwrandêwch;
16 Yn ol yr hyn oll a geisiaist
gan yr ARGLWYDD dy DDUW yn
Horeb, [l] yn nydd y gymmanfa, gan
ddywedyd, [m] Na chlywwyf mwyach
lais yr ARGLWYDD fy NUW, ac na
welwyf y tân mawr hwn mwyach,
rhag fy marw.
17 A dywedodd yr ARGLWYDD
wrthyf, [n] Da *y dywedasant yr* hyn
a ddywedasant.
18 [o] Codaf Brophwyd iddynt o fysg
eu brodyr, fel tithau, a [p] rhoddaf fy
ngeiriau yn ei enau ef; ac [q] efe a
lefara wrthynt yr hyn oll a orchy-
mynwyf iddo.
19 A phwy bynnag ni wrandawo
ar fy ngeiriau, y rhai a lefara efe yn
fy enw, myfi a'*i* gofynaf ganddo.
20 [r] Y prophwyd hefyd, yr hwn a
ryfyga lefaru yn fy enw air ni or-
chymynais iddo ei lefaru, neu yr
hwn a lefaro yn enw duwiau dïeithr;
rhodder y prophwyd hwnnw
i farwolaeth.
21 Ac os dywedi yn dy galon, Pa
fodd yr adnabyddwn y gair ni lef-
arodd yr ARGLWYDD?
22 [s] Yr hyn a lefaro y prophwyd
hwnnw yn enw yr ARGLWYDD, [t] a'r
gair heb fod, ac heb ddyfod i ben,
hwnnw yw y gair ni lefarodd yr
ARGLWYDD; y prophwyd a'i llef-
arodd mewn rhyfyg: nac ofna ef.

## PENNOD XIX.

1 *Dinasoedd noddfa;* 4 *a braint llofrudd ynddynt.* 14 *Na symmuder terfyn tir.* 15 *Rhaid yw bod dau o dystion o'r lleiaf.* 19 *Cospedigaeth gau dyst.*

PAN [a] dorro yr ARGLWYDD dy
DDUW ymaith y cenhedloedd
y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn
rhoddi eu tir i ti, a'i [2] feddiannu o
honot ti, a phreswylio yn eu dinas-
oedd ac yn eu tai;
2 [b] Neilldua i ti dair dinas yng
nghanol dy dir, yr hwn y mae yr
ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i
ti i'w feddiannu.
3 Parottoa ffordd i ti, a thraiana
derfyn dy dir, yr hwn a rydd yr
ARGLWYDD dy DDUW yn etifedd-
iaeth i ti, fel y byddo i bob llof-
rudd ffoi yno.
4 ¶ [c] Dyma gyfraith y llofrudd, yr
hwn a ffŷ yno, i fyw: yr hwn a dar-
awo ei gymmydog heb wybod, ac
yntau heb ei gasâu ef [3] o'r blaen;
5 Megis pan elo *un* gyd â'i gym-
mydog i'r coed i gymmynu pren, ac

[l] pen. 9. 10.
[m] Exod. 20. 19. Heb. 12. 19.
[n] pen. 5. 28.
[o] Ioan 1. 45. Act. 3. 22. a 7. 37.
[p] Es. 51. 16.
[q] Ioan 4. 25.
[r] pen. 13. 5. Jer. 14. 14. Zech. 13. 3.
[s] Jer. 28. 9.
[t] Edrych pen. 13. 2.
[a] pen. 12. 29.
[2] Neu, *etifeddu.*
[b] Exod. 21. 13. Num. 35. 10. Jos. 20. 2.
[c] pen. 4. 42.
[3] Heb. *er doe ac echdoe.*

a estyn ei law â'r fwyell i dorri y
pren, a syrthio yr haiarn [4] o'r men-
ybr, a chyrhaeddyd ei gymmydog,
fel y byddo farw; efe a gaiff ffoi i
un o'r dinasoedd hyn, a byw:
6 [d] Rhag i ddïalydd y gwaed ddi-
lyn ar ol y llofrudd, a'i galon yn
llidiog, a'i oddiweddyd, am fod y
ffordd yn hir, a'i daro ef yn [5] farw,
er nad *oedd* ynddo ef haeddedig-
aeth marwolaeth, am nad oedd efe
yn ei gasâu ef [6] o'r blaen.
7 Am hynny yr ydwyf yn gorchy-
myn i ti, gan ddywedyd, Tair dinas
a neilldui i ti.
8 A phan [e] helaetho yr ARGLWYDD
dy DDUW dy derfyn, fel y tyngodd
wrth dy dadau, a rhoddi i ti yr holl
dir a addawodd efe ei roddi wrth
dy dadau;
9 Os cedwi y gorchymynion hyn
oll, gan wneuthur yr hyn yr ydwyf
fi yn ei orchymyn i ti heddyw, i
garu yr ARGLWYDD dy DDUW, a
rhodio yn ei ffyrdd ef bob amser;
[f] yna y chwanegi i ti dair dinas
hefyd at y tair hyn:
10 Fel na ollynger gwaed gwirion
o fewn dy dir, yr hwn y mae yr
ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi
i ti yn etifeddiaeth; ac na byddo
gwaed i'th erbyn.
11 ¶ Ond [g] os bydd gwr yn casâu
ei gymmydog, ac yn cynllwyn iddo,
a chodi yn ei erbyn, a'i ddïeneidio
fel y byddo farw, a ffoi i un o'r
dinasoedd hyn;
12 Yna anfoned henuriaid ei ddin-
as ef, a chymmerant ef oddi yno,
a rhoddant ef yn llaw dïalydd y
gwaed, fel y byddo farw.
13 Nac arbeded dy lygad ef, ond
tyn ymaith *affaith* gwaed gwirion
o Israel, fel y byddo daioni i ti.
14 ¶ [h] Na symmud derfyn dy gym-
mydog, yr hwn a derfynodd y rhai
a fu o'r blaen, o fewn dy etifedd-
iaeth yr hon a feddienni, yn y tir
y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn
ei roddi i ti i'w feddiannu.
15 ¶ [i] Na choded un tyst yn erbyn
neb am ddim anwiredd, neu ddim
pechod, o'r holl bechodau a becho
efe: wrth dystiolaeth dau o dystion,
neu wrth dystiolaeth tri o dystion,
y bydd safadwy y peth.
16 ¶ Os cyfyd gau dyst yn erbyn
neb, gan dystiolaethu bai yn ei er-
byn ef;
17 Yna safed y ddau ddyn *y mae*
yr ymrafael rhyngddynt ger bron

Cyn CRIST 1451.

[4] Heb. *oddi ar y pren, a chaffael,* &c.
[d] Num. 35. 12.
[5] Heb. *yn ei einioes.*
[6] Heb. *er doe ac echdoe.*
[e] Gen. 15. 18. pen. 12. 20.
[f] Jos. 20. 7.
[g] Exod. 21. 12, &c. Num. 35. 16, 24. pen. 27. 24.
[h] pen. 27. 17. Diar. 22. 28. Hos. 5. 10.
[i] Num. 35. 30. pen. 17. 6. Matt. 18. 16. Ioan 8. 17. 2 Cor. 13. 1. Heb. 10. 28.

Cyn CRIST 1451.

yr ARGLWYDD, [k] o flaen yr offeir-
iaid a'r barnwyr a fyddo yn y dydd-
iau hynny.

k pen. 17. 9.

18 Ac ymofyned y barnwyr yn
dda: ac *os* y tyst *fydd* dyst ffals,
*ac* a dystiolaetha ar gam yn erbyn
ei frawd;

l Diar. 19. 5, 9. Dan. 6. 24.
m pen. 13. 5. a 17. 7. a 22. 21, 24.

19 [l] Yna gwnewch iddo fel yr am-
canodd wneuthur i'w frawd: [m] a
thyn ymaith y drwg o'th fysg.
20 A'r lleill a glywant, ac a ofn-
ant, ac ni chwanegant wneuthur
mwy yn ol y peth drygionus hyn
yn dy blith.
21 Ac nac arbeded dy lygad:
*bydded* [n] einioes am einioes, llygad
am lygad, dant am ddant, llaw am
law, troed am droed.

n Exod. 21. 23. Lef. 24. 20. Matt. 5. 38.

## PENNOD XX.

1 *Araith yr offeiriaid i annog y bobl i ryfel.* 5 *Cyhoeddiad y swyddogion pwy sydd i'w gollwng adref o'r rhyfel.* 10 *Pa beth a wneir i'r dinasoedd a dderbyniant neu a wrthodant ammodau heddwch.* 16 *Pa ddinasoedd sydd raid eu haddunedu.* 19 *Ni wasanaetha dinystrio prennau ymborth dyn, wrth warchae ar ddinas.*

a Edrych Ps. 20. 7. Es. 31. 1.

PAN elych i ryfel yn erbyn dy
elynion, a gweled [a] meirch a
cherbydau, *a* phobl fwy na thi, nac
ofna rhagddynt: o herwydd yr AR-
GLWYDD dy DDUW *fydd* gyd â thi,
yr hwn a'th ddug di i fynu o dir
yr Aipht.
2 A bydd, pan nesaoch i'r frwydr,
yna ddyfod o'r offeiriad, a llefaru
wrth y bobl,
3 A dywedyd wrthynt, Clyw, Is-
rael: Yr ydych chwi yn nesâu hedd-
yw i'r frwydr yn erbyn eich gelyn-
ion: na feddalhâed eich calon, nac
ofnwch, na [2] synnwch, ac na ddy-
chrynwch rhagddynt.

2 Heb. *phrysurwch.*

4 Canys yr ARGLWYDD eich DUW
*sydd* yn myned gyd â chwi, i ryfela
â'ch gelynion trosoch chwi, *ac* i'ch
achub chwi.
5 ¶ A'r llywiawdwyr a lefarant
wrth y bobl, gan ddywedyd, Pa wr
*sydd* a adeiladodd dŷ newydd, ac
nis [b] cyssegrodd ef? eled a dychwel-
ed i'w dŷ, rhag ei farw yn y frwydr,
ac i wr arall ei gyssegru ef.

b Edrych Neh. 12. 27. Ps. 30. tit.

6 A pha wr *sydd* a blannodd win-
llan, ac nis [3] mwynhaodd hi? eled a
dychweled i'w dŷ, rhag ei farw yn y
frwydr, ac i wr arall ei mwynhâu hi.
7 [c] A pha wr sydd a ymgredodd â
gwraig, ac ni chymmerodd hi? eled
a dychweled i'w dŷ, rhag ei farw
mewn rhyfel, ac i wr arall ei chym-
meryd hi.

3 Heb. *cyffredin-odd.* Edrych Lef. 19. 23, 24. pen. 28. 30.
c pen. 24. 5.

8 Y llywiawdwyr *hefyd* a chwan-
egant lefaru wrth y bobl, ac a ddy-
wedant, [d] Pa wr *sydd* ofnus a medd-
al galon? eled a dychweled i'w dŷ,
fel na [4] lwfrhao efe galon ei frawd
megis ei galon yntau.

d Barn. 7. 3.
4 Heb. *thoddo.*

9 A bydded, pan ddarffo i'r llyw-
iawdwyr lefaru wrth y bobl, osod
o honynt dywysogion y lluoedd yn
ben ar y bobl.
10 ¶ Pan nesâech at ddinas i ry-
fela yn ei herbyn, [e] cyhoedda iddi
heddwch.

e 2 Sam. 20. 18.

11 A bydded, os heddwch a ettyb
hi i ti, ac agoryd i ti; yna bydded
i'r holl bobl a gaffer ynddi, fod i ti
dan deyrnged, a'th wasanaethu.
12 Ac oni heddycha hi â thi, ond
gwneuthur rhyfel â thi; yna gwar-
chae arni hi.
13 Pan roddo yr ARGLWYDD dy
DDUW hi yn dy law di, [f] taro ei
holl wrrywiaid â min y cleddyf.

f Num. 31. 7.

14 Yn unig y benywaid, a'r plant,
a'r [g] anifeiliaid, a phob dim a'r a
fyddo yn y ddinas, *sef* ei holl ys-
pail, a yspeili i ti: a thi a fwynhêi
yspail dy elynion, yr hwn a rydd
yr ARGLWYDD dy DDUW i ti.

g Jos. 8. 2.

15 Felly y gwnei i'r holl ddinas-
oedd pell iawn oddi wrthyt, y rhai
nid *ydynt* o ddinasoedd y cenhedl-
oedd hyn.
16 Ond [h] o ddinasoedd y bobloedd
hyn, y rhai y mae yr ARGLWYDD dy
DDUW yn eu rhoddi i ti yn etifedd-
iaeth, na chadw un enaid yn fyw:

h Num. 33. 52. pen. 7. 1, 2.

17 Ond gan ddifrodi difroda hwynt;
*sef* yr Hethiaid, a'r Amoriaid, y Ca-
naaneaid, a'r Phereziaid, yr Hefiaid,
a'r Jebusiaid; megis y gorchymyn-
odd yr ARGLWYDD dy DDUW i ti:
18 Fel na ddysgont i chwi wneuth-
ur yn ol eu holl ffieidd-dra hwynt,
y rhai a wnaethant i'w duwiau, a
phechu o honoch yn erbyn yr AR-
GLWYDD eich DUW.
19 ¶ Pan warchâech ar ddinas
lawer o ddyddiau, gan ryfela yn ei
herbyn i'w hennill hi, na ddifetha ei
choed hi, gan daro bwyell arnynt:
canys o honynt y bwyttêi; na thorr
dithau hwynt i lawr, (o herwydd
[5] *bywyd* dyn *yw* pren y maes,) [6] i'*w*
gosod yn y gwarch-glawdd.

5 Neu, o *ddyn, pren y maes sydd i'w osod,* &c.
6 Heb. *i fyned o'th flaen.*

20 Yn unig y pren y gwyddost nad
pren ymborth *yw*, hwnnw a ddifethi
ac a dorri: ac a adeiledi warch-
glawdd yn erbyn y ddinas fydd yn
gwneuthur rhyfel â thi, hyd oni
[7] orchfyger hi.

7 *ymddarostyngo.*

Cyn CRIST 1451.

## PENNOD XXI.

1 *Y modd i ymddiheuro oddi wrth lofruddiaeth, heb wybod pwy a'i gwnaeth.* 10 *Y modd y mae trin caethferch a brïodo un.* 15 *Na ddylid dïetifeddu y cyntaf-anedig o ran cas.* 18 *Rhaid yw llabyddio mab anufudd.* 22 *Na adawer drwg-weithredwr y'nghrog dros nos.*

OS ceir *un* wedi ei ladd o fewn y tir yr hwn y mae yr ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti i'w etifeddu, yn gorwedd yn y maes, heb wybod pwy a'i lladdodd;

2 Yna aed dy henuriaid a'th farnwyr allan, a mesurant hyd y dinasoedd *sydd* o amgylch i'r lladdedig.

3 A bydded i'r ddinas nesaf at y lladdedig, *sef* henuriaid y ddinas honno, gymmeryd anner *o'r* gwartheg, yr hon ni weithiwyd â hi, *ac* ni thynnodd dan iau.

4 A dyged henuriaid y ddinas honno yr anner i ddyffryn garw, yr hwn ni lafuriwyd, ac ni hauwyd ynddo; ac yno [2] torfynyglant yr anner yn y dyffryn.

[2] *torrant ben.*

5 A nesâed yr offeiriaid, meibion Lefi, (o herwydd yr ARGLWYDD dy DDUW [a] a'u hetholodd hwynt i weini iddo ef, ac i fendigo yn enw yr ARGLWYDD,) ac [b] wrth eu [3] barn hwynt y terfynir pob ymryson a phob pla.

[a] pen. 10. 8. [b] pen. 17. 8, 9. [3] Heb. *genau.*

6 A holl henuriaid y ddinas honno, y rhai *a fyddo* nesaf at y lladdedig, [c] a olchant eu dwylaw uwch ben yr anner a dorfynyglwyd yn y dyffryn.

[c] Edrych Ps. 19. 12. Matt. 27. 24.

7 A hwy a attebant ac a ddywedant, Ni thywalltodd ein dwylaw ni y gwaed hwn, ac nis gwelodd ein llygaid.

8 Trugarhâ wrth dy bobl Israel, y rhai a waredaist, O ARGLWYDD, ac na ddyro waed gwirion [4] yn erbyn dy bobl Israel. A maddeuir y gwaed iddynt hwy.

[4] Heb. *y'nghanol.*

9 Felly y tynni ymaith *affaith* y gwaed gwirion o'th fysg, os ti a wnei yr uniawnder y'ngolwg yr ARGLWYDD.

10 ¶ Pan elych i ryfel yn erbyn dy elynion, a rhoddi o'r ARGLWYDD dy DDUW hwynt yn dy law di, a chaethgludo o honot gaethglud o honynt;

11 A gweled o honot yn y gaethglud wraig brydweddol, a'i bod wrth dy fodd, i'w chymmeryd i ti yn wraig:

12 Yna dwg hi i fewn dy dŷ, ac eillied hi ei phen, a [5] thorred ei hewinedd;

[5] Heb. *gwnaed,* neu, *gyweiried.*

13 A dïosged ddillad ei chaethiwed oddi am dani, a thriged yn dy dŷ di, ac [d] wyled *am* ei thad a'i mam fis o ddyddiau: ac wedi hynny yr âi di atti, ac y byddi wr iddi, a hithau fydd wraig i ti.

[d] Edrych Ps. 45. 10.

14 Ac oni bydd hi wrth dy fodd; yna gollwng hi yn ol ei hewyllys ei hun, a chan werthu na werth hi er arian; na chais elw o honi, am i ti ei darostwng hi.

15 ¶ Pan fyddo i wr ddwy wragedd, un yn gu, ac un yn gas; a phlanta o'r gu a'r gas feibion iddo ef, a bod y mab cyntaf-anedig o'r *un* gas:

16 Yna bydded, [e] yn y dydd y rhanno efe ei etifeddiaeth rhwng ei feibion y rhai fyddant iddo, na ddichon efe wneuthur yn gyntaf-anedig fab y gu o flaen mab y gas, *yr hwn sydd* gyntaf-anedig;

[e] 2 Chron. 11. 19, 22.

17 Ond mab y gas yr hwn sydd gyntaf-anedig a gydnebydd efe, [f] gan roddi iddo ef y ddeuparth o'r hyn oll a gaffer yn eiddo ef: o achos hwn *yw* [g] dechreuad ei nerth ef; iddo *y bydd* braint y cyntaf-anedig.

[f] Edrych 1 Chron. 5. 1. [g] Gen. 49. 3.

18 ¶ *Ond* o bydd i wr fab cyndyn ac anufudd, heb wrandaw ar lais ei dad, neu ar lais ei fam; a phan geryddant ef, ni wrendy arnynt:

19 Yna ei dad a'i fam a ymaflant ynddo, ac a'i dygant at henuriaid ei ddinas, ac i borth ei drigfan;

20 A dywedant wrth henuriaid ei ddinas ef, Ein mab hwn *sydd* gyndyn ac anufudd, heb wrandaw ar ein llais; glwth a meddwyn *yw efe.*

21 Yna holl ddynion ei ddinas a'i llabyddiant ef â meini, fel y byddo farw: [h] felly y tynni ymaith y drwg o'th fysg; a holl Israel a glywant, ac a ofnant.

[h] pen. 13. 5. a 22. 21, 24.

22 ¶ Ac o bydd mewn gwr bechod yn haeddu *barnedigaeth* angau, a'i farwolaethu, a chrogi o honot ef wrth bren;

23 [i] Na thriged ei gelain dros nos wrth y pren, *ond* gan gladdu ti a'i cleddi ef o fewn *y* dydd hwnnw: o herwydd [k] melldith DDUW [6] *sydd i'r hwn* a grogir: ac na haloga dy dir *y mae* yr ARGLWYDD dy DDUW yn ei roddi i ti yn etifeddiaeth.

[i] Jos. 10. 26. [k] Gal. 3. 13. [6] Neu, *yw yr hwn.* Edrych Num. 25. 4. Jos. 10. 26. 2 Sam. 21. 6.

## PENNOD XXII.

1 *Am garedigrwydd brawdol.* 5 *Bod adnabod y gwrryw a'r fenyw wrth eu dillad.* 6 *Na ddalier mam yr adar gyd â'i chywion.* 8 *Rhaid yw bod i dŷ ganllawiau.* 9 *Gochelyd cymmysgedd.* 12 *Rhaid yw bod rhidens wrth ddillad.* 13 *Cospedigaeth yr hwn a roddo anair i'w wraig.* 20, 22 *Am dorr-brïodas,* 25 *trais,* 28 *godineb,* 30 *a llosgach.*

[a] NI chei weled eidion dy frawd neu ei ddafad yn cyfeiliorni, ac

[a] Exod. 23. 4.

Cyn CRIST 1451.

ymguddio oddi wrthynt: gan ddwyn dwg hwynt drachefn i'th frawd.

2 Ac oni *bydd* dy frawd yn gyfagos attat, neu oni adwaenost ef; yna dwg hwnnw i fewn dy dŷ, a bydded gyd â thi, hyd pan ymofyno dy frawd am dano; yna dyro ef yn ei ol iddo ef.

3 Ac felly y gwnei i'w asyn ef, ac felly y gwnei i'w ddillad ef, ac felly y gwnei i bob collbeth i'th frawd, yr hwn a gyll oddi wrtho ef, a thithau yn ei gael: ni elli ymguddio.

[b] Exod. 23. 5.

4 ¶ [b] Ni chei weled asyn dy frawd neu ei ŷch yn gorwedd ar y ffordd, ac ymguddio oddi wrthynt; *ond* gan godi cyfod *hwynt* gyd âg ef.

5 ¶ Na fydded dilledyn gwr am wraig, ac na wisged gwr ddillad gwraig: o herwydd ffiaidd gan yr Arglwydd dy Dduw bawb a'r a wnel hyn.

6 ¶ Pan ddamweinio nyth aderyn i'th olwg ar dy ffordd, mewn un pren, neu ar y ddaear, â chywion, neu âg wyau *ynddo*, a'r fam yn eistedd ar y cywion, neu ar yr wyau; na chymmer y fam gyd â'r cywion.

7 Gan ollwng ti a ollyngi y fam, a'r cywion a gymmeri i ti; fel y byddo daioni i ti, ac yr estynech *dy* ddyddiau.

8 ¶ Pan adeiladech dŷ newydd, yna y gwnei ganllawiau *o amgylch* i'th nen; fel na osodych waed ar dy dŷ, pan syrthio neb oddi arno.

[c] Lef. 19. 19. [2] Heb. *cyflawnder.*

9 ¶ [c] Na haua dy winllan âg amryw *had;* rhag i ti halogi [2] cynnyrch yr had a hauech, a chnwd y winllan.

[d] Edrych 2 Cor. 6. 14, 15, 16.

10 ¶ [d] Nac ardd âg ŷch ac âg asyn ynghyd.

[e] Lef. 19. 19.

11 ¶ [e] Na wisg ddilledyn o amryw ddefnydd, *megis o* wlan a llin ynghyd.

[f] Num. 15. 38. Matt. 23. 5. [3] Heb. *bedair adain.*

12 ¶ [f] Plethau a weithi i ti ar [3] bedwar cwrr dy wisg yr ymwisgech â hi.

13 ¶ O chymmer gwr wraig, ac wedi myned atti, ei chasâu;

14 A gosod yn ei herbyn anair, a rhoddi allan enw drwg iddi, a dywedyd, Y wraig hon a gymmerais; a phan euthum atti, ni chefais ynddi forwyndod:

15 Yna cymmered tad y llangces a'i mam, a dygant *arwyddion* morwyndod y llangces at henuriaid y ddinas i'r porth.

16 A dyweded tad y llangces wrth yr henuriaid, Fy merch a roddais i'r gwr hwn yn wraig, a'i chasâu y mae efe.

17 Ac wele, efe a gododd *iddi* anair, gan ddywedyd, Ni chefais yn dy ferch forwyndod; ac fel dyma *arwyddion* morwyndod fy merch. Yna lledant y dilledyn y'ngŵydd henuriaid y ddinas.

18 A henuriaid y ddinas honno a gymmerant y gwr, ac a'i cospant ef.

19 A hwy a'i dirwyant ef *mewn* càn *sicl* o arian, ac a'u rhoddant hwynt i dad y llangces; o achos iddo ddwyn enw drwg ar y forwyn *o* Israel: a bydd hi yn wraig iddo; *ac* ni ddichon ei gyrru ymaith *yn* ei holl ddyddiau.

20 Ond os gwir fydd y peth, ac na chafwyd *arwyddion* morwyndod yn y llangces:

21 Yna y dygant y llangces at ddrws tŷ ei thad, a dynion ei dinas a'i llabyddiant hi â meini, oni byddo farw; am iddi wneuthur ffolineb yn Israel, gan butteinio yn nhŷ ei thad: [g] a thi a dynni ymaith y drwg o'th fysg. [g] pen. 13. 5.

22 ¶ [h] O cheffir gwr yn gorwedd gyd â gwraig brïodol *â* gwr; byddant feirw ill dau, *sef* y gwr a orweddodd gyd â'r wraig, a'r wraig *hefyd:* felly y tynni ymaith ddrwg o Israel. [h] Lef. 20. 10.

23 ¶ O bydd llangces *o* forwyn wedi ei dyweddïo i wr, a chael o wr hi mewn dinas, a gorwedd gyd â hi;

24 Yna y dygwch hwynt ill dau i borth y ddinas honno, ac a'u llabyddiwch hwynt â meini, fel y byddont feirw: y llangces, oblegid na waeddodd, *a hithau* yn y ddinas; a'r gwr, o herwydd iddo ddarostwng gwraig ei gymmydog: [i] felly ti a dynni ymaith y drygioni o'th fysg. [i] ad. 21, 22.

25 ¶ Ond os mewn maes y cafodd y gwr y llangces wedi ei dyweddïo, a'i threisio o'r gwr, a gorwedd gyd â hi; yna bydded farw y gwr a orweddodd gyd â hi yn unig.

26 Ond i'r llangces ni chei wneuthur dim; nid *oes* yn y llangces bechod *yn haeddu* marwolaeth: o herwydd megis y cyfyd gwr yn erbyn ei gymmydog, a'i ddïeneidio ef, yr un modd *y mae* y peth hyn:

27 Oblegid yn y maes y cafodd efe hi: gwaeddodd y llangces *oedd* wedi ei dyweddïo; ac nid *oedd* achubydd iddi.

28 ¶ [k] O chaiff gwr langces o forwyn, heb ei dyweddïo, ac ymaflyd ynddi, a gorwedd gyd â hi, a'u dala hwynt: [k] Exod. 22. 16.

Cyn CRIST 1451.

29 Yna y rhydd y gwr a orweddodd gyd â hi, i dad y llangces, ddeg a deugain o arian; ac iddo y bydd yn wraig, am iddo ei darostwng hi: ni ddichon efe ei gyrru hi ymaith *yn* ei holl ddyddiau.

l Lef. 18. 8. a 20. 11. 1 Cor. 5. 1.
m Edrych Ruth 3. 9. Ezec. 16. 8.

30 ¶ [l] Na chymmered neb wraig ei dad, ac na [m] ddinoethed odre ei dad.

## PENNOD XXIII.

1 *Pwy a all, a phwy ni all ddyfod i'r gynnulleidfa.* 9 *Rhaid yw gochelyd aflendid yn y llu.* 15 *Am y gwas ffoadur.* 17 *Am frynti.* 18 *Am aberthau ffiaidd,* 19 *usuriaeth,* 21 *addunedau,* 24 *a chamweddau.*

NA ddeued neb wedi ysigo ei eirin, na dispaidd, i gynnulleidfa yr ARGLWYDD.

2 Na ddeued basterdyn i gynnulleidfa yr ARGLWYDD; y ddegfed genhedlaeth iddo hefyd ni chaiff ddyfod i gynnulleidfa yr ARGLWYDD.

a Neh. 13. 1.

3 Na ddeled [a] Ammoniad na Moabiad i gynnulleidfa yr ARGLWYDD; y ddegfed genhedlaeth hefyd o honynt na ddeued i gynnulleidfa yr ARGLWYDD byth:

b Edrych pen. 2. 29.
c Num. 22. 5, 6.

4 [b] Oblegid ni chyfarfuant â chwi â bara ac â dwfr yn y ffordd, wrth eich dyfod o'r Aipht; ac [c] o achos cyflogi o honynt i'th erbyn Balaam mab Beor o Pethor *ym* Mesopotamia, i'th felldithio di.

5 Etto yr ARGLWYDD dy DDUW ni fynnodd wrandaw ar Balaam: ond trodd yr ARGLWYDD dy DDUW y felldith yn fendith i ti; canys hoffodd yr ARGLWYDD dy DDUW dydi.

d Ezra 9. 12.

6 [d] Na chais eu heddwch hwynt, na'u daioni hwynt, dy holl ddyddiau byth.

7 ¶ Na ffieiddia Edomiad; canys dy frawd yw: na ffieiddia Aiphtiad; o herwydd dïeithr fuost yn ei wlad ef.

8 Deued o honynt i gynnulleidfa yr ARGLWYDD y drydedd genhedlaeth o'r meibion a genhedlir iddynt.

9 ¶ Pan êl y llu allan yn erbyn dy elynion, yna ymgadw rhag pob peth drwg.

e Lef. 15. 16.

10 ¶ [e] O bydd un o honot heb fod yn lân, o herwydd damwain nos; eled allan o'r gwersyll; na ddeued o fewn y gwersyll.

2 Heb. *A phan wynebo yr hwyr.*

11 [2] Ac ym min yr hwyr ymolched mewn dwfr: yna wedi machludo yr haul, deued i fewn y gwersyll.

12 ¶ A bydded lle i ti o'r tu allan i'r gwersyll; ac yno yr âi di allan.

13 A bydded gennyt raw-ffon ym mysg dy arfau; a bydded pan eisteddych allan, gloddio o honot â hi, a thro a chuddia yr hyn a ddaeth oddi wrthyt.

Cyn CRIST 1451.

14 O herwydd bod yr ARGLWYDD dy DDUW yn rhodio ym mhlith dy wersyllau, i'th waredu, ac i roddi dy elynion o'th flaen di; am hynny bydded dy wersyllau yn sanctaidd; fel na welo ynot ti [3] ddim brynti, a throi oddi wrthyt.

3 Heb. *noethni dim.*
f 1 Sam. 30. 15.

15 ¶ [f] Na ddyro at ei feistr was a ddïangodd attat oddi wrth ei feistr.

16 Gyd â thi y trig yn dy fysg, yn y fan a ddewiso, yn un o'th byrth di, lle byddo da ganddo; *ac* na chystuddia ef.

4 *sodomies.*
g Edrych Diar. 2. 16.
5 *sodomiad.*

17 ¶ Na fydded [4] puttain [g] o ferched Israel, ac na fydded [5] putteiniwr o feibion Israel.

18 Na ddwg wobr puttain, na gwerth ci, *i* dŷ yr ARGLWYDD dy DDUW, mewn un adduned: canys *y maent* ill dau yn ffiaidd gan yr ARGLWYDD dy DDUW.

h Exod. 22. 25. Lef. 25. 36. Neh. 5. 2. Ps. 15. 5. Luc 6. 34, 35.
6 *usuriaeth.*
i Edrych pen. 15. 3. Lef. 19. 34.

19 ¶ [h] Na chymmer [6] occraeth gan dy frawd; occraeth arian, occraeth bwyd, occraeth dim y cymmerir occraeth am dano.

20 [i] Gan estron y cymmeri occraeth; ond na chymmer occraeth gan dy frawd: fel y bendithio yr ARGLWYDD dy DDUW di ym mhob peth y rhoddych dy law arno, yn y tir yr ydwyt yn myned iddo i'w feddiannu.

k Num. 30. 2. Preg. 5. 4.

21 ¶ [k] Pan addunedech adduned i'r ARGLWYDD dy DDUW, nac oeda ei thalu: canys yr ARGLWYDD dy DDUW gan ofyn a'i gofyn gennyt; a byddai yn bechod ynot.

22 Ond os peidi âg addunedu, ni bydd pechod ynot.

23 Cadw a gwna yr hyn a ddaeth allan o'th wefusau; megis yr addunedaist i'r ARGLWYDD dy DDUW offrwm gwirfodd, yr hwn a draethaist â'th enau.

24 ¶ Pan ddelych i winllan dy gymmydog, yna bwytta o rawnwin dy wala, wrth dy feddwl; ond na ddod yn dy lestr *yr un.*

l Matt. 12. 1. Marc 2. 23. Luc 6. 1.

25 Pan ddelych i ŷd dy gymmydog, [l] yna y cei dynnu y tywysennau â'th law; ond ni chei osod crymman yn ŷd dy gymmydog.

## PENNOD XXIV.

1 *Am ysgar.* 5 *Nad rhaid i'r gwr newydd brïodi fyned i ryfel.* 6, 10 *Am wystlon.* 7 *Am ladron dynion.* 8 *Am y gwahan-glwyf:* 14 *talu cyflog,* 17 *barn,* 19 *ac elusen.*

a Matt. 5. 31. a 19. 7. Marc 10. 4.

PAN [a] gymmero gwr wraig, a'i phrïodi; yna oni chaiff hi ffafr

Cyn CRIST Cylch 624.

6 Efe a ddug allan hefyd [e] y llwyn
o dŷ yr ARGLWYDD, i'r tu allan i
Jerusalem, hyd afon Cidron, ac a'*i*
llosgodd ef wrth afon Cidron, ac a'*i*
malodd yn llwch, ac a daflodd ei
lwch ar [f] feddau meibion y bobl.
7 Ac efe a fwriodd i lawr dai y
sodomiaid, y rhai *oedd* wrth dŷ yr
ARGLWYDD, lle yr oedd y gwragedd
yn gwau [4] cortynnau i'r llwyn.
8 Ac efe a ddug yr holl offeiriaid
allan o ddinasoedd Judah, ac a hal-
ogodd yr uchelfeydd yr oedd yr off-
eiriaid yn arogl-darthu arnynt, o
Geba hyd Beerseba, ac a ddistryw-
iodd uchelfeydd y pyrth, y rhai *oedd*
*wrth* ddrws porth Josua tywysog
y ddinas, y rhai *oedd* ar y llaw aswy
i bawb *a ddelai* i borth y ddinas.
9 Etto [g] offeiriaid yr uchelfeydd ni
ddaethant i fynu at allor yr AR-
GLWYDD i Jerusalem, ond hwy a
fwyttasant fara croyw ym mysg eu
brodyr.
10 Ac efe a halogodd [h] Topheth, yr
hon *sydd* yn [i] nyffryn meibion Hin-
nom, fel [k] na thynnai neb ei fab na'i
ferch trwy dân i Moloch.
11 Ac efe a ddifethodd y meirch
a roddasai brenhinoedd Judah i'r
haul, wrth ddyfodfa tŷ yr ARGLWYDD,
wrth ystafell Nathan-melech yr [5] ys-
tafellydd, yr hwn *oedd* yn y pentref,
ac a losgodd gerbydau yr haul yn tân.
12 Yr allorau hefyd, y rhai *oedd*
[l] ar nen ystafell Ahaz, y rhai a wnel-
sai brenhinoedd Judah, a'r allorau a
wnelsai [m] Manasseh yn nau gyntedd
tŷ yr ARGLWYDD, a ddistrywiodd y
brenhin, ac [6] a'*u* bwriodd *hwynt* i
lawr oddi yno, ac a daflodd eu llwch
hwynt i afon Cidron.
13 Y brenhin hefyd a ddifwynodd
yr uchelfeydd *oedd* ar gyfer Jeru-
salem, y rhai *oedd* o'r tu dehau i
[7] fynydd y llygredigaeth, y rhai a ad-
eiladasai [n] Solomon brenhin Israel i
Astoreth ffieidd-dra y Sidoniaid, ac
i Cemos ffieidd-dra y Moabiaid, ac
i Milchom ffieidd-dra meibion Am-
mon.
14 Ac efe [o] a ddrylliodd y delwau,
ac a dorrodd y llwyni, ac a lanwodd
eu lle hwynt âg esgyrn dynion.
15 ¶ Yr allor hefyd, yr hon *oedd* yn
Bethel, *a*'r uchelfa [p] a wnaethai Jero-
boam mab Nebat, yr hwn a wnaeth
i Israel bechu, ïe, yr allor honno
a'r uchelfa a ddistrywiodd efe, ac
a losgodd yr uchelfa, *ac* a'*i* malodd
yn llwch, ac a losgodd y llwyn.

e pen. 21. 7.
f 2 Chron. 34. 4.
4 Heb. *tai.*
g Edrych Ezec. 44. 10—14.
h Jer. 7. 31. a 19. 6, 11.
i Jos. 15. 8.
k Lef. 18. 21. Deut. 18. 10.
5 Heb. *eunuch.*
l Edrych Jer. 19. 13. Zeph. 1. 5.
m pen. 21. 5.
6 Neu, *a redodd oddi yno.*
7 Sef, mynydd yr Olewwydd.
n 1 Bren. 11. 7.
o Exod. 23. 24. Deut. 7. 5, 25.
p 1 Bren. 12. 28.

16 A Josïah a edrychodd, ac a
ganfu feddau, y rhai *oedd* yno yn y
mynydd, ac a anfonodd, ac a gym-
merth yr esgyrn o'r beddau, ac a'*u*
llosgodd ar yr allor, ac a'i halogodd
hi, yn ol [q] gair yr ARGLWYDD yr hwn
a gyhoeddasai gwr DUW, yr hwn a
bregethasai y geiriau hyn.
17 Yna efe a ddywedodd, Pa ditl
*yw* hwn yr ydwyf fi yn ei weled? A
gwŷr y ddinas a ddywedasant wrtho,
[r] Bedd gwr DUW, yr hwn a ddaeth
o Judah, ac a gyhoeddodd y pethau
hyn a wnaethost ti i allor Bethel,
*ydyw.*
18 Ac efe a ddywedodd, Gadêwch
ef yn llonydd; nac ymyrred neb
â'i esgyrn ef. Felly yr achubasant
ei esgyrn ef, gyd âg esgyrn [s] y pro-
phwyd a ddaethai o Samaria.
19 Josïah hefyd a dynnodd ym-
aith holl dai yr uchelfeydd, y rhai
*oedd* [t] yn ninasoedd Samaria, y rhai
a wnelsai brenhinoedd Israel i ddig-
io yr *ARGLWYDD*, ac a wnaeth idd-
ynt yn ol yr holl weithredoedd a
wnelsai efe yn Bethel.
20 Ac [u] efe a [8] [x] laddodd holl offeir-
iaid yr uchelfeydd *oedd* yno, ar yr
allorau, ac a losgodd esgyrn dynion
arnynt, ac a ddychwelodd i Jeru-
salem.
21 ¶ A'r brenhin a orchymyn-
odd i'r holl bobl, gan ddywedyd,
[y] Gwnewch Basc i'r ARGLWYDD eich
DUW, [z] fel *y mae* yn ysgrifenedig yn
llyfr y cyfammod hwn.
22 Yn ddïau [a] ni wnaed y fath
Basc â hwn, er dyddiau y barnwyr
a farnasant Israel, nac *yn* holl
ddyddiau brenhinoedd Israel, na
brenhinoedd Judah.
23 Ac yn y ddeunawfed flwyddyn i
frenhin Josïah y cynhaliwyd y Pasc
hwn i'r ARGLWYDD yn Jerusalem.
24 ¶ Y swynyddion hefyd, a'r
dewiniaid, a'r [9] delwau, a'r eilunod,
a'r holl ffieidd-dra, y rhai a welwyd
y'ngwlad Judah, ac yn Jerusalem,
a dynnodd Josïah ymaith: fel y
cyflawnai efe eiriau y [b] gyfraith; *y*
*rhai oedd* ysgrifenedig yn y llyfr a
gafodd Hilcïah yr offeiriad yn nhŷ
yr ARGLWYDD.
25 Ac [c] ni bu o'i flaen frenhin o'i
fath ef, yr hwn a drodd at yr AR-
GLWYDD â'i holl galon, ac â'i holl
enaid, ac â'i holl egni, yn ol cwbl o
gyfraith Moses; ac ar ei ol ef ni
chyfododd ei fath ef.
26 ¶ Er hynny ni throdd yr AR-

Cyn CRIST Cylch 624.

q 1 Bren. 13. 2.
r 1 Bren. 13. 30.
s 1 Bren. 13. 31.
t Edrych 2 Chron. 34. 6.
u 1 Bren. 13. 2.
8 Neu, *aberthodd.*
x Exod. 22. 20. pen. 11. 18.
y 2 Chron. 35. 1.
z Exod. 12. 3. Lef. 23. 5. Num. 9. 2. Deut. 16. 2.
a 2 Chron. 35. 18.
Cylch 623.
9 Neu, *teraphim,* Gen. 31. 19.
b Lef. 19. 31. a 20. 27. Deut. 18. 11.
c pen. 18. 5.

Cyn CRIST Cylch 623.

GLWYDD oddi wrth lid ei ddigofaint
mawr, *trwy* yr hwn y llidiodd ei
ddigllonedd ef yn erbyn Judah, [d] o
[d] Jer. 15. 4. herwydd yr holl ddigter *trwy* yr
hwn y digiasai Manasseh ef.
27 A dywedodd yr ARGLWYDD, Ju-
dah hefyd a fwriaf ymaith o'm gol-
[e] pen. 17. 18, 20. a 18. 11. a 21. 13. wg, fel [e] y bwriais ymaith Israel, ac
a wrthodaf y ddinas hon Jerusalem,
yr hon a ddetholais, a'r tŷ *am* yr hwn
[f] 1 Bren. 8. 29. a 9. 3. pen. 21. 4, 7. y dywedais, [f] Fy enw a fydd yno.
28 A'r rhan arall o hanes Josïah,
a'r hyn oll a wnaeth efe, onid *yd-
ynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
chronicl brenhinoedd Judah?
610. 29 ¶ [g] Yn ei ddyddiau ef y daeth
[g] 2 Chron. 35. 20. Pharaoh-Nechoh brenhin yr Aipht i
fynu yn erbyn brenhin Assyria, hyd
afon Euphrates: a'r brenhin Josïah
a aeth i'w gyfarfod ef, a *Pharaoh*
[h] 2 Chron. 35. 24. [h] a'i lladdodd ef ym [i] Megìdo, pan ei
[i] Zech. 12. 11. [k] gwelodd ef.
[k] pen. 14. 8. 30 A'i weision a'i dygasant ef
mewn cerbyd yn farw o Megìdo, ac
a'i dygasant ef i Jerusalem, ac a'i
claddasant ef yn ei feddrod ei hun.
[l] 2 Chron. 36. 1. A [l] phobl y wlad a gymmerasant
[m] 1 Chron. 3. 15, *Johanan.* Jer. 22. 11, *Salum.* [m] Joahaz mab Josïah, ac a'i hen-
neiniasant ef, ac a'i hurddasant yn
frenhin yn lle ei dad.
31 ¶ Mab tair blwydd ar hugain
*oedd* Joahaz pan aeth efe yn fren-
hin, a thri mis y teyrnasodd efe yn
Jerusalem; ac enw ei fam ef *oedd*
[n] pen. 24. 18. [n] Hamutal, merch Jeremïah o Lib-
nah.
32 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg y'ngolwg yr ARGLWYDD, yn
ol yr hyn oll a wnaethai ei dadau ef.
33 A Pharaoh-Nechoh a'i rhwym-
odd ef yn Riblah y'ngwlad Hamath,
[2] Neu, *am ei fod yn teyrnasu.* [2] fel na theyrnasai efe yn Jerusalem:
ac a osododd dreth ar y wlad *o* gàn
talent o arian, a thalent o aur.
34 A Pharaoh-Nechoh a osododd
Elïacim mab Josïah yn frenhin yn
[o] Edrych pen. 24. 17. Dan. 1. 7. lle Josïah ei dad, ac [o] a drodd ei enw
[p] Matt. 1. 11. ef [p] Joacim: ac efe a ddug ymaith
Joahaz, ac efe a ddaeth i'r Aipht,
[q] Jer. 22. 11, 12. Ezec. 19. 3, 4. ac yno [q] y bu efe farw.
35 A Joacim a roddodd i Pharaoh
[r] ad. 33. [r] yr arian, a'r aur; ond efe a dreth-
odd y wlad i roddi yr arian wrth
orchymyn Pharaoh: efe a gododd
yr arian a'r aur ar bobl y wlad, ar
bob un yn ol ei dreth, i'w rhoddi i
Pharaoh-Nechoh.
610. 36 ¶ Mab pùm mlwydd ar hugain
*oedd* Joacim pan ddechreuodd efe
deyrnasu, ac un mlynedd ar ddeg y
teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac

enw ei fam ef *oedd* Zebudah, merch Cyn CRIST 610.
Pedaiah o Rumah.
37 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg y'ngolwg yr ARGLWYDD, yn
ol yr hyn oll a wnelsai ei dadau.

## PENNOD XXIV.

*1 Joacim wedi ei orchfygu gan Nabuchodonosor, yn gwrthryfela yn ei erbyn ef; ac felly yn dwyn dinystr arno ei hun. 6 Joachin yn teyrnasu ar ei ol ef. 7 Brenhin Babilon yn gorchfygu brenhin yr Aipht. 8 Drwg lywodraeth Joachin. 10 Ennill Jerusalem, a chaethgludo y bobl i Babilon. 17 Gwneuthur Sedecïah yn frenhin; a'i ddrwg lywodraeth ef yn achos o lwyr-ddinystr Jerusalem.*

YN [a] ei ddyddiau ef y daeth Na- 607.
buchodonosor brenhin Babilon 606. 603.
i fynu, a Joacim a fu was iddo ef [a] 2 Chron. 36. 6.
dair blynedd: yna efe a drodd, ac
a wrthryfelodd yn ei erbyn ef.
2 A'r ARGLWYDD a anfonodd yn 600.
ei erbyn ef dorfoedd o'r Caldeaid, a
thorfoedd o'r Syriaid, a thorfoedd
o'r Moabiaid, a thorfoedd o feibion
Ammon, ac a'u hanfonodd hwynt
yn erbyn Judah i'w dinystrio hi,
[b] yn ol gair yr ARGLWYDD, yr hwn [b] pen. 20. 17. a 23. 27.
a lefarasai efe trwy law ei weision
y prophwydi.
3 Yn ddïau trwy orchymyn yr AR-
GLWYDD y bu *hyn* yn erbyn Judah,
i'*w* bwrw allan o'i olwg ef, o achos
[c] pechodau Manasseh, yn ol yr hyn [c] pen. 21. 2. a 23. 26.
oll a wnaethai efe;
4 A hefyd o herwydd [d] y gwaed [d] pen. 21. 16.
gwirion a ollyngodd efe: canys efe a
lanwodd Jerusalem o waed gwirion;
a hynny ni fynnai yr ARGLWYDD ei
faddeu.
5 ¶ A'r rhan arall o hanes Joacim,
a'r hyn oll a'r a wnaeth efe, onid
*ydynt* hwy yn ysgrifenedig yn llyfr
chronicl brenhinoedd Judah?
6 A [e] Joacim a hunodd gyd â'i dad- 599.
au; a [2] Joachin ei fab a deyrnasodd [e] Edrych 2 Chron. 36. 6, 8. Jer. 22. 18, 19. a 36. 30.
yn ei le ef.
7 Ac [f] ni ddaeth brenhin yr Aipht
mwyach o'i wlad: canys [g] brenhin [2] Neu, *Jeconïah.* 1 Chron. 3. 16. neu, *Conïah,* Jer. 22. 24, 28.
Babilon a ddygasai yr hyn oll a
oedd eiddo brenhin yr Aipht, o
afon yr Aipht hyd afon Euphrates.
8 ¶ [h] Mab deunaw mlwydd *oedd* [f] Edrych Jer. 37. 5, 7.
Joachin pan aeth efe yn frenhin; a [g] Jer. 46. 2.
thri mis y teyrnasodd efe yn Jeru- [h] 2 Chron. 36. 9.
salem: ac enw ei fam ef *oedd* Ne-
husta, merch Elnathan o Jerusalem.
9 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg y'ngolwg yr ARGLWYDD, yn
ol yr hyn oll a wnaethai ei dad.
10 ¶ [i] Yn yr amser hwnnw y daeth [i] Dan. 1. 1.
gweision Nabuchodonosor brenhin

Cyn CRIST 599.

[3] Heb. *a'r ddinas a ddaeth yng ngwarchae.*

599.

[4] Neu, *eunuchiaid.*
[k] Edrych pen. 25. 27.
[l] Edrych Jer. 52. 28.
[m] pen. 20. 17. Es. 39. 6.
[n] Edrych Dan. 5. 2, 3.
[o] Jer. 20. 5.
[p] Jer. 24. 1.
[q] Edrych Jer. 52. 28.
[r] Felly 1 Sam. 13. 19, 22.
[s] pen. 25. 12.
[t] 2 Chron. 36. 10. Esth. 2. 6. Jer. 22. 24, &c.
[5] Neu, *eunuchiaid.*
[u] Edrych Jer. 52. 28.
[x] Jer. 37. 1.
599.
[y] 1 Chron. 3. 15.
[z] Felly pen. 23. 34. 2 Chron. 36. 4.
[a] 2 Chron. 36. 11. Jer. 37. 1. a 52. 1.
593.
[b] pen. 23. 31.
[c] Ezec. 17. 15.

Babilon i fynu yn erbyn Jerusalem,
[3] a gwarchaewyd ar y ddinas.
11 A Nabuchodonosor brenhin
Babilon a ddaeth yn erbyn y ddin-
as, a'i weision ef a warchaeasant
arni hi.
12 A Joachin brenhin Judah a
aeth allan at frenhin Babilon, efe,
a'i fam, a'i weision, a'i dywysogion,
a'i [4]ystafellyddion: a brenhin Babi-
lon [k]a'i daliodd ef [l]yn yr wythfed
flwyddyn o'i deyrnasiad.
13 Ac [m]efe a ddug oddi yno holl
drysorau tŷ yr ARGLWYDD, a thrys-
orau tŷ y brenhin, ac [n]a dorrodd
yr holl lestri aur a wnelsai Solo-
mon brenhin Israel yn nheml yr
ARGLWYDD, [o]fel y llefarasai yr AR-
GLWYDD.
14 Ac [p]efe a ddug ymaith holl Je-
rusalem, yr holl dywysogion hefyd,
a'r holl gedyrn nerthol, [q]*sef* deng
mil o gaethion, a [r]phob saer, a gôf:
ni adawyd ond [s]pobl dlodion y wlad
*yno.*
15 [t]Efe hefyd a ddug ymaith Joa-
chin i Babilon, a mam y brenhin, a
gwragedd y brenhin, a'i [5]ystafellydd-
ion, a chedyrn y wlad a ddug efe i
gaethiwed o Je usalem i Babilon.
16 A'r [u]holl wŷr nerthol, *sef* saith
mil; ac o seiri a gofaint, mil, y rhai
oll *oedd* gryfion *a* rhyfelwyr: hwynt-
hwy a ddug brenhin Babilon yn
gaeth i Babilon.
17 ¶ A [x]brenhin Babilon a osod-
odd Mattanïah [y]brawd ei dad ef yn
frenhin yn ei le ef, ac [z]a drodd ei
enw ef yn Sedecïah.
18 [a]Mab un mlwydd ar hugain
*oedd* Sedecïah pan ddechreuodd
efe deyrnasu, ac un mlynedd ar
ddeg y teyrnasodd efe yn Jerusa-
lem: ac enw ei fam ef *oedd* [b]Hamu-
tal, merch Jeremïah o Libnah.
19 Ac efe a wnaeth yr hyn *oedd*
ddrwg y'ngolwg yr ARGLWYDD, yn
ol yr hyn oll a wnaethai Joachin.
20 Canys trwy ddigofaint yr AR-
GLWYDD y bu hyn yn Jerusalem ac
yn Judah, nes iddo eu taflu hwynt
allan o'i olwg, [c]fod i Sedecïah wrth-
ryfela yn erbyn brenhin Babilon.

## PENNOD XXV.

1 *Cylchynu Jerusalem.* 4 *Dal Sedecïah, a lladd ei feibion, a thynnu ei lygaid ef.* 8 *Nabuzaradan yn difrodi y ddinas; ac yn dwyn y gweddill, ond ychydig dlodion, i gaethiwed:* 13 *yn anrheithio ac yn dwyn ymaith y trysorau.* 18 *Lladd y bonedd-igion yn Riblah.* 22 *Wedi lladd Gedalïah, a osodasid yn ben arnynt, y mae y lleill yn ffoi i'r Aipht.* 27 *Efil-merodach yn dyrchafu Joachin yn ei lys.*

AC [a]yn y nawfed flwyddyn o'i
deyrnasiad ef, yn y degfed mis,
ar y degfed *dydd* o'r mis, y daeth
Nabuchodonosor brenhin Babilon,
efe a'i holl lu, yn erbyn Jerusalem,
ac a wersyllodd yn ei herbyn hi, a
hwy a adeiladasant yn ei herbyn hi
wrthglawdd o'i hamgylch hi.
2 A bu y ddinas y'ngwarchae hyd
yr unfed flwyddyn ar ddeg i'r bren-
hin Sedecïah.
3 Ac ar y nawfed *dydd* o'r [b]*ped-*
*werydd* mis y trymhaodd y newyn
yn y ddinas, ac nid oedd bara i
bobl y wlad.
4 ¶ A'r [c]ddinas a dorrwyd, a'r holl
ryfelwyr *a ffoisant* liw nos *ar hyd*
ffordd y porth, rhwng y ddau fur, y
rhai *sydd* wrth ardd y brenhin, (a'r
Caldeaid *oedd* wrth y ddinas o am-
gylch;) *a'r* [d]*brenhin* a aeth y ffordd
tu a'r rhos.
5 A llu y Caldeaid a erlidiasant ar
ol y brenhin, ac a'i daliasant ef yn
rhosydd Jericho: a'i holl lu ef a
wasgarasid oddi wrtho.
6 Felly hwy a ddaliasant y brenhin,
ac a'i dygasant ef i fynu at frenhin
Babilon i Riblah; ac a [2]roddasant
farn yn ei erbyn ef.
7 Lladdasant feibion Sedecïah hef-
yd o flaen ei lygaid, ac a [3][e]dynnasant
lygaid Sedecïah, ac a'i rhwymasant
ef mewn gefynnau pres, ac a'i dyg-
asant ef i Babilon.
8 ¶ Ac yn y pummed mis, [f]ar y
seithfed *dydd* o'r mis, honno *oedd*
[g]y bedwaredd flwyddyn ar bymtheg
i'r brenhin Nabuchodonosor bren-
hin Babilon, y daeth Nabuzaradan
y distain, gwas brenhin Babilon, i
Jerusalem.
9 Ac efe a losgodd dŷ yr AR-
GLWYDD, a thŷ y brenhin, a holl
dai Jerusalem, a phob tŷ mawr a
losgodd efe â thân.
10 A holl lu y Caldeaid, y rhai
*oedd gyd â'r* distain, a dorrasant i
lawr furiau Jerusalem oddi amgylch.
11 A Nabuzaradan y distain a
ddug ymaith y rhan arall o'r bobl a
adawsid yn y ddinas, a'r ffoaduriaid
a giliasant at frenhin Babilon, gyd
â gweddill y dyrfa.
12 Ac [h]o dlodion y wlad y gadaw-
odd y distain *rai,* yn winllanwyr,
ac yn arddwyr.
13 [i]Y [k]colofnau pres hefyd, y rhai

Cyn CRIST 590.

[a] 2 Chron. 36. 17. Jer. 34. 2. a 39. 1. a 52. 4. Ezec. 24. 1.

588.
[b] Jer. 52. 6.
[c] Jer. 39. 2, 3.
[d] Ezec. 12. 12.
[2] Heb. *lefarasant farn gyd âg ef.*
[3] Heb. *ddallasant.*
[e] Ezec. 12. 13.
[f] Edrych Jer. 52. 12.
[g] Edrych pen. 24. 12. a ad. 27.
[h] pen. 24. 14. Jer. 40. 7. a 52. 16.
[i] pen. 20. 17. Jer. 27. 19, 22.
[k] 1 Bren. 7. 15.

Cyn CRIST 588.

[l] 1 Bren. 7. 27.
[m] 1 Bren. 7. 23.
[n] Exod. 27. 3. 1 Bren. 7. 50.
[o] 1 Bren. 7. 47.
[p] 1 Bren. 7. 15. Jer. 52. 21.
[q] 1 Chron. 6. 14.
[r] Jer. 21. 1. a 29. 25.
[4] Heb. *rhiniog.*
[5] Neu, *eunuch.*
[s] Jer. 52. 25.
[6] Neu, *a phen ysgrifenydd y llu.*
[t] Jer. 40. 5.

*oedd* yn nhŷ yr ARGLWYDD, [l] a'r ys-
tolion, [m] a'r môr pres, yr hwn *oedd*
yn nhŷ yr ARGLWYDD, a ddrylliodd
y Caldeaid, a hwy a ddygasant eu
pres hwynt i Babilon.
14 [n] Y crochanau hefyd, a'r rhaw-
iau, a'r psaltringau, y llwyau, a'r
holl lestri pres, y rhai yr oeddid
yn gwasanaethu â hwynt, a ddyg-
asant hwy ymaith.
15 Y pedyll tân hefyd, a'r cawgiau,
y rhai *oedd* o aur *yn* aur, a'r rhai
*oedd* o arian *yn* arian, a ddug y
distain ymaith.
16 Y ddwy golofn, yr un môr, a'r
ystolion a wnelsai Solomon i dŷ yr
ARGLWYDD; [o] nid oedd bwys ar
bres yr holl lestri hyn.
17 [p] Tri chufydd ar bymtheg *oedd*
uchder y naill golofn, a chnap pres
*oedd* arni; ac uchder y cnap *oedd*
dri chufydd; plethwaith hefyd a
phomgranadau *oedd* ar y cnap o
amgylch, yn bres i gyd: ac felly yr
*oedd* yr ail golofn, â phlethwaith.
18 ¶ A'r distain a gymmerth [q] Se-
raiah yr offeiriad pennaf, a [r] Sepha-
nïah, yr ail offeiriad, a'r tri oedd yn
cadw y [4] drws.
19 Ac o'r ddinas efe a gymmerth
[5] ystafellydd, yr hwn oedd ar y rhy-
felwyr, a [s] phùmwr o'r rhai oedd
yn gweled wyneb y brenhin, y rhai
a gafwyd yn y ddinas, [6] ac ysgrif-
enydd tywysog y llu, yr hwn oedd
yn byddino pobl y wlad; a thri
ugeinwr o bobl y wlad, y rhai a
gafwyd yn y ddinas.
20 A Nabuzaradan y distain a
gymmerth y rhai hyn, ac a'u dug
at frenhin Babilon, i Riblah.
21 A brenhin Babilon a'u tarawodd
hwynt, ac a'u lladdodd hwynt, yn
Riblah, y'ngwlad Hamath. Felly y
caethgludwyd Judah o'i wlad ei
hun.
22 ¶ [t] Ac *am* y bobl a adawsid
y'ngwlad Judah, y rhai a adawsai
Nabuchodonosor brenhin Babilon,
efe a wnaeth yn swyddog arnynt
hwy, Gedalïah mab Ahicam, mab
Saphan.
23 A phan glybu holl [u] dywysogion
y lluoedd, hwynt-hwy a'u gwŷr,
wneuthur o frenhin Babilon Geda-
lïah yn swyddog, hwy a ddaethant
at Gedalïah i Mispah, sef Ismael
mab Nethanïah, a Johanan mab
Careah, a Seraiah mab Tanhumeth
y Netophathiad, a Jaazanïah mab
Maachathiad, hwynt a'u gwŷr.
24 A Gedalïah a dyngodd wrthynt
hwy, ac wrth eu gwŷr, ac a ddywed-
odd wrthynt, Nac ofnwch *fod* yn
weision i'r Caldeaid: trigwch yn y
tir, a gwasanaethwch frenhin Babi-
lon, a bydd da i chwi.
25 Ac yn y seithfed mis [x] y daeth
Ismael mab Nethanïah, mab Eli-
sama, [7] o'r had brenhinol, a dengwr
gyd âg ef, a hwy a darawsant Geda-
lïah, fel y bu efe farw: *tarawsant*
hefyd yr Iuddewon a'r Caldeaid
oedd gyd âg ef ym Mispah.
26 A'r holl bobl o fychan hyd
fawr, a thywysogion y lluoedd, a
gyfodasant ac [y] a ddaethant i'r
Aipht: canys yr oeddynt yn ofni y
Caldeaid.
27 ¶ Ac [z] yn y ddwyfed flwyddyn
ar bymtheg ar hugain o gaethiwed
Joachin brenhin Judah, yn y deu-
ddegfed mis, ar y seithfed *dydd* ar
hugain o'r mis, Efil-merodach bren-
hin Babilon, yn y flwyddyn yr aeth
efe yn frenhin, [a] a ddyrchafodd ben
Joachin brenhin Judah o'r carch-
ardy.
28 Ac efe a ddywedodd [8] yn dêg
wrtho, ac a osododd ei gadair ef
goruwch cadeiriau y brenhinoedd
*oedd* gyd âg ef yn Babilon.
29 Ac efe a newidiodd ei garchar-
wisg ef: ac efe a fwyttaodd fwyd yn
wastadol ger ei fron ef holl ddydd-
iau ei einioes.
30 A'i ran ef *oedd* ran feunyddiol,
a roddid iddo gan y brenhin, dogn
dydd yn ei ddydd, holl ddyddiau ei
einioes ef.

Cyn CRIST 588.

[u] Jer. 40. 7, 8.
588.
[x] Jer. 41. 1.
[7] Heb. *o had y frenhiniaeth.*
[y] Jer. 43. 4, 7.
562.
[z] Jer. 52. 31.
[a] Edrych Gen. 40. 13, 20.
[8] Heb. *bethau daionus.*

# LLYFR CYNTAF Y CHRONICL.

Cyn CRIST 4004, &c.

## PENNOD I.

*1 Llin Adda hyd Noah. 5 Meibion Japheth. 8 Meibion Cham. 17 Meibion Sem. 24 Llin Sem hyd Abraham. 29 Meibion Ismael. 32 Meibion Ceturah. 34 Hiliogaeth Abraham o Esau. 43 Brenhinoedd Edom. 51 Duciaid Edom.*

a Gen. 4. 25, 26. a 5. 3, 9. ADDA, [a] Seth, Enos,
2 Cenan, Mahalaleel, Jered,
3 Enoch, Methuselah, Lamech,
4 Noah, Sem, Cham, a Japheth.
b Gen. 10. 2. 5 ¶ [b] Meibion Japheth; Gomer, a
Magog, a Madai, a Jafan, a Thubal,
a Mesech, a Thiras.
6 A meibion Gomer; Aschenaz, a
2 Neu, *Diphath.* [2] Riphath, a Thogarmah.
7 A meibion Jafan; Elisah, a
3 Neu, *Rodanim.* Tharsis, Cittim, a [3] Dodanim.
c Gen. 10. 6. 8 ¶ [c] Meibion Cham; Cus, a Mis-
raim, Put, a Chanaan.
9 A meibion Cus; Seba, a Hafilah,
a Sabta, a Raamah, a Sabtecha: a
Seba, a Dedan, meibion Raamah.
d Gen. 10. 8. 10 [d] A Chus a genhedlodd Nimrod:
hwn a ddechreuodd fod yn gadarn
ar y ddaear.
11 A Misraim a genhedlodd Lu-
dim, ac Anamim, a Lehabim, a
Naphtuhim,
12 Pathrusim hefyd, a Chasluhim,
(y rhai y daeth y Philistiaid allan o
e Deut. 2. 23. honynt,) a [e] Chaphtorim.
f Gen. 10. 15. 13 A [f] Chanaan a genhedlodd Si-
don ei gyntaf-anedig, a Heth,
14 Y Jebusiad hefyd, a'r Amoriad,
a'r Girgasiad,
15 A'r Hefiad, a'r Arciad, a'r Siniad,
16 A'r Arfadiad, a'r Semariad, a'r
Hamathiad.
g Gen. 10. 22. a 11. 10. 17 ¶ [g] Meibion Sem; Elam, ac As-
sur, ac Arphaxad, a Lud, ac Aram,
4 *Mas,* Gen. 10. 23. ac Us, a Hul, a Gether, a [4] Mesech.
18 Ac Arphaxad a genhedlodd
Selah, a Selah a genhedlodd Eber.
19 Ac i Eber y ganwyd dau o feib-
5 Sef, *Gwahaniad.* ion: enw y naill *ydoedd* [5] Peleg; o
herwydd mai yn ei ddyddiau ef
y rhannwyd y ddaear: ac enw ei
frawd *oedd* Joctan.
h Gen. 10. 26. 20 A [h] Joctan a genhedlodd Almo-
dad, a Seleph, a Hasarmafeth, a Jerah,
21 Hadoram hefyd, ac Usal, a
Diclah,
22 Ac Ebal, ac Abimael, a Seba,
23 Ophir hefyd, a Hafilah, a Jobab.
Y rhai hyn oll *oedd* feibion Joctan.
i Gen. 11. 10. Luc 3. 35, &c. 24 ¶ [i] Sem, Arphaxad, Selah,

25 [k] Eber, Peleg, Reu, Cyn CRIST 4004, &c.
26 Serug, Nachor, Terah,
27 [l] Abram, hwnnw *yw* Abraham. k Gen. 11. 15.
28 Meibion Abraham; [m] Isaac, ac l Gen. 17. 5.
[n] Ismael. m Gen. 21. 2, 3.
29 ¶ Dyma eu cenhedlaethau n Gen. 16. 11, 15.
hwynt: [o] cyntaf-anedig Ismael *oedd* o Gen. 25. 13, &c.
Nebaioth, yna Cedar, ac Adbeel, a
Mibsam,
30 Misma, a Dumah, Massa, [6] Ha- 6 Neu, *Hadar.*
dad, a Thema,
31 Jetur, Naphis, a Chedemah.
Dyma feibion Ismael.
32 ¶ A [p] meibion Ceturah, gor- Cylch 1853.
dderch-wraig Abraham: hi a ym- p Gen. 25. 1, 2.
ddûg Zimran, a Jocsan, a Medan, a
Midian, ac Isbac, a Suah. A meib-
ion Jocsan; Seba, a Dedan.
33 A meibion Midian; Ephah, ac
Epher, a Henoch, ac Abida, ac
Eldaah: y rhai hyn oll *oedd* feib-
ion Ceturah.
34 Ac [q] Abraham a genhedlodd Isaac. q Gen. 21. 2.
[r] Meibion Isaac; Esau, ac Israel. r Gen. 25. 25.
35 ¶ [s] Meibion Esau; Eliphaz, s Gen. 36. 9, 10.
Reuel, a Jëus, a Jaalam, a Chorah.
36 Meibion Eliphaz; Teman, ac
Omar, [7] Sephi, a Gatam, Cenaz, a 7 Neu, *Sepho,* Gen. 36. 11.
Thimna, ac Amalec.
37 Meibion Reuel; Nahath, Zerah,
Sammah, a Mizzah.
38 A [t] meibion Seir; Lotan, a So- t Gen. 36. 20.
bal, a Sibeon, ac Anah, a Dison, ac
Eser, a Disan.
39 A meibion Lotan; Hori, a [8] Ho- 8 Neu, *Hemam,* Gen. 36. 22.
mam: a chwaer Lotan *oedd* Timna.
40 Meibion Sobal; [9] Alïan, a Ma- 9 Neu, *Alfan,* Gen. 36. 23.
nahath, ac Ebal, [2] Sephi, ac Onam.
A meibion Sibeon; Aiah, ac Anah. 2 Neu, *Sepho,* Gen. 36. 23.
41 Meibion Anah; [u] Dison. A meib- u Gen. 36. 25.
ion Dison; [3] Amram, ac Esban, ac
Ithran, a Cheran. 3 Neu, *Hemdan,* Gen. 36. 26.
42 Meibion Eser; Bilhan, a Zafan, *a*
[4] Jacan. Meibion Dison; Us, ac Aran. 4 Neu, *Acan,* Gen. 36. 27.
43 ¶ Dyma hefyd y [x] brenhinoedd Cylch 1676.
a deyrnasasant yn nhir Edom, cyn x Gen. 36. 31.
teyrnasu o frenhin ar feibion Israel;
Bela mab Beor: ac enw ei ddinas
ef *oedd* Dinhabah.
44 A phan fu farw Bela, y teyrn-
asodd yn ei le ef Jobab mab Zerah
o Bosrah.
45 A phan fu farw Jobab, Husam
o wlad y Temaniaid a deyrnasodd
yn ei le ef.
46 A phan fu farw Husam, yn ei

Cyn CRIST Cylch 1676.

le ef y teyrnasodd Hadad mab Be-
dad, yr hwn a darawodd Midian
ym maes Moab: ac enw ei ddinas
ef *ydoedd* Afith.
47 A phan fu farw Hadad, y teyrn-
asodd yn ei le ef Samlah o Masrecah.
48 [y] A phan fu farw Samlah, Saul
o Rehoboth *wrth* yr afon a deyrn-
asodd yn ei le ef.
49 A phan fu farw Saul, y teyrn-
asodd yn ei le ef Baalhanan mab
Achbor.
50 A bu farw Baalhanan, a theyrn-
asodd yn ei le ef [5]Hadad: ac enw
ei ddinas ef *oedd* [6]Pai; ac enw ei
wraig ef Mehetabel, merch Matred,
merch Mezahab.
51 ¶ A bu farw Hadad. [z] A duc-
iaid Edom oedd; duc Timna, duc
Alïah, duc Jetheth,
52 Duc Aholibamah, duc Elah,
duc Pinon,
53 Duc Cenaz, duc Teman, duc
Mibsar,
54 Duc Magdiel, duc Iram. Dyma
dduciaid Edom.

## PENNOD II.

1 *Meibion Israel.* 3 *Hiliogaeth Judah o Tamar.* 13 *Meibion Jesse.* 18 *Hiliogaeth Caleb mab Hesron.* 21 *Hiliogaeth Hesron o ferch Machir.* 25 *Hiliogaeth Jerahmeel.* 34 *Hiliogaeth Sesan.* 42 *Caingc arall o hiliogaeth Caleb.* 50 *Hiliogaeth Caleb mab Hur.*

DYMA feibion [2]Israel; [a]Reuben,
Simeon, Lefi, a Judah, Issa-
char, a Zabulon,
2 Dan, Joseph, a Benjamin, Naph-
tali, Gad, ac Aser.
3 ¶ Meibion [b]Judah; Er, ac Onan,
a Selah. Y tri *hyn* a anwyd iddo
ef o ferch [c]Sua y Canaanees. Ond
[d]Er, cyntaf-anedig Judah, ydoedd
ddrygionus y'ngolwg yr ARGLWYDD,
ac efe a'i lladdodd ef.
4 A [e]Thamar ei waudd ef a ym-
ddûg iddo Phares, a Zerah. Holl
feibion Judah *oedd* bump.
5 [f]Meibion Phares; Hesron, a
Hamul.
6 A meibion Zerah; [3]Zimri, [g]ac
Ethan, a Heman, a Chalcol, a [4]Da-
ra; hwynt oll *oedd* bump.
7 A meibion [h]Carmi; [5]Achar, yr
hwn a flinodd Israel, ac a wnaeth
gamwedd oblegid [i]y dïofryd-beth.
8 A meibion Ethan; Azarïah.
9 A meibion Hesron, y rhai a an-
wyd iddo ef; Jerahmeel, a [6]Ram, a
[7]Chelubai.
10 A [k]Ram a genhedlodd Ammina-
dab; ac Amminadab a genhedlodd
Nahson, [l]pennaeth meibion Judah;

[y] Gen. 36. 37.
[5] *Hadar*, Gen. 36. 39.
[6] *Pau*, Gen. 36. 39.
Cylch 1496.
[z] Gen. 36. 40.
1752, &c.
[2] Neu, *Jacob.*
[a] Gen. 29. 32. a 30. 5. a 35. 18, 22. a 46. 8, &c.
[b] Gen. 38. 3. a 46. 12. Num. 26. 19.
[c] Gen. 38. 2.
[d] Gen. 38. 7.
[e] Gen. 38. 29, 30. Matt. 1. 3.
[f] Gen. 46. 12. Ruth 4. 18.
[3] Neu, *Zabdi*, Jos. 7. 1.
[g] 1 Bren. 4. 31.
[4] Neu, *Darda.*
[h] Edrych pen. 4. 1.
[5] Neu, *Acan.*
[i] Jos. 6. 18. a 7. 1.
[6] Neu, *Aram*, Matt. 1. 3, 4.
[7] Neu, *Caleb*, ad. 18, 42.
[k] Ruth 4. 19. Matt. 1. 4.
[l] Num. 1. 7. a 2. 3.

11 A Nahson a genhedlodd [8]Sal-
ma; a Salma a genhedlodd Boaz;
12 A Boaz a genhedlodd Obed;
ac Obed a genhedlodd Jesse;
13 ¶ A Jesse a genhedlodd ei
gyntaf-anedig [m]Elïab, ac Abinadab
yn ail, a [9]Simma yn drydydd,
14 Nethaneel yn bedwerydd, Rà-
dai yn bummed,
15 Osem yn chweched, Dafydd yn
seithfed:
16 A'u chwïorydd hwynt *oedd* Ser-
fiah, ac Abigail. [n]A meibion Ser-
fiah; Abisai, a Joab, ac Asahel; tri.
17 Ac [o]Abigail a ymddûg Amasa.
A thad Amasa *oedd* [2]Jether yr Is-
maeliad.
18 ¶ A Chaleb mab Hesron a en-
nillodd *blant* o Azubah *ei* wraig, ac
o Jerioth: a dyma ei meibion hi;
Jeser, Sobab, ac Ardon.
19 A phan fu farw Azubah, Caleb
a gymmerth iddo [p]Ephrath, a hi a
ymddûg iddo Hur.
20 A [q]Hur a genhedlodd Uri, ac
Uri a genhedlodd Bezaleel.
21 ¶ Ac wedi hynny yr aeth Hes-
ron i mewn at ferch [r]Machir, tad
Gilead, ac efe a'i [3]prïododd hi pan
*ydoedd* fab tri ugain mlwydd; a hi
a ddug iddo Segub.
22 A Segub a genhedlodd Jair:
ac yr oedd iddo ef dair ar hugain o
ddinasoedd y'ngwlad Gilead.
23 [s]Ac efe a ennillodd Gesur, ac
Aram, a threfydd Jair oddi arnynt,
a Chenath a'i phentrefydd, *sef* tri
ugain o ddinasoedd. Y rhai hyn
oll *oedd eiddo* meibion Machir tad
Gilead.
24 Ac ar ol marw Hesron o fewn
Caleb-ephrata, Abïah gwraig Hesron
a ymddûg iddo [t]Asur, tad Tecoa.
25 ¶ A meibion Jerahmeel cyntaf-
anedig Hesron oedd, Ram yr hynaf,
Bunah, ac Oren, ac Osem, *ac* Ahïah.
26 A gwraig arall ydoedd i Jerah-
meel, a'i henw Atarah: hon *oedd*
fam Onam.
27 A meibion Ram cyntaf-anedig
Jerahmeel oedd, Maas, a Jamin, ac
Ecer.
28 A meibion Onam oedd, Sam-
mai, a Jada. A meibion Sammai;
Nadab, ac Abisur.
29 Ac enw gwraig Abisur *oedd*
Abihail: a hi a ymddûg iddo Aban,
a Molid.
30 A meibion Nadab; Seled, ac Ap-
paim. A bu farw Seled yn ddiblant.
31 A meibion Appaim; Isi. A

Cyn CRIST Cylch 1471.
[8] *Salmon*, Ruth 4. 21. Matt. 1. 4.
[m] 1 Sam. 16. 6.
[9] Neu, *Samma*, 1 Sam. 16. 9.
Cylch 1090.
[n] 2 Sam. 2. 18.
[o] 2 Sam. 17. 25.
[2] *Ithra yr Israeliad*, 2 Sam. 17. 25.
Cylch 1471.
[p] ad. 50.
[q] Exod. 31. 2.
[r] Num. 27. 1.
[3] Heb. *cymmerth.*
[s] Num. 32. 41. Deut. 3. 14. Jos. 13. 30.
Cylch 1471.
[t] pen. 4. 5.

Cyn CRIST Cylch 1471.

meibion Isi; Sesan. A [u] meibion
Sesan; Alai.
32 A meibion Jada brawd Sam-
mai; Jether, a Jonathan. A bu
farw Jether yn ddiblant.
33 A meibion Jonathan; Peleth,
a Zaza. Y rhai hyn *oedd* feibion
Jerahmeel.
34 ¶ Ac nid oedd i Sesan feibion,
ond merched: ac i Sesan *yr oedd*
gwas o Aiphtiad, a'i enw Jarha.
35 A Sesan a roddodd ei ferch yn
wraig i Jarha ei was. A hi a ymd-
ddûg iddo Attai.
36 Ac Attai a genhedlodd Nathan,
a Nathan a genhedlodd [x] Zabad,
37 A Zabad a genhedlodd Ephlal,
ac Ephlal a genhedlodd Obed,
38 Ac Obed a genhedlodd Jehu, a
Jehu a genhedlodd Azarïah,
39 Ac Azarïah a genhedlodd He-
les, a Heles a genhedlodd Eleasah,
40 Ac Eleasah a genhedlodd Sisa-
mai, a Sisamai a genhedlodd Sàlum,
41 A Sàlum a genhedlodd Jeca-
mïah, a Jecamïah a genhedlodd
Elisama.
42 ¶ Hefyd meibion Caleb brawd
Jerahmeel *oedd*, Mesa ei gyntaf-
anedig, hwn *oedd* dad Ziph: a
meibion Maresah tad Hebron.
43 A meibion Hebron; Corah, a
Thappuah, a Recem, a Sema.
44 A Sema a genhedlodd Raham,
tad Jorcoam: a Recem a genhedl-
odd Sammai.
45 A mab Sammai *oedd* Maon: a
Maon *oedd* dad Bethsur.
46 Ac Ephah gordderch-wraig Ca-
leb a ymddûg Haran, a Mosa, a Ga-
zez: a Haran a genhedlodd Gazez.
47 A meibion Jahdai; Regem, a
Jotham, a Gesan, a Phelet, ac
Ephah, a Saaph.
48 Gordderch-wraig Caleb, *sef*
Maachah, a ymddûg Seber, a Thir-
hanah.
49 Hefyd hi a ymddûg Saaph tad
Madmannah, Sefa tad Machbena, a
thad Gibea: a merch Caleb *oedd*
[y] Achsah.
50 ¶ Y rhai hyn oedd feibion Ca-
leb mab Hur, cyntaf-anedig [z] Ephra-
tah; Sobal tad Ciriath-jearim,
51 Salma tad Bethlehem, Hareph
tad Beth-gader.
52 A meibion oedd i Sobal, tad
Ciriath-jearim; [4] Haroeh, *a* hanner
y [5] Manahethiaid.
53 A theuluoedd Ciriath-jearim
*oedd*, yr Ithriaid, a'r Puhiaid, a'r

[u] Edrych ad. 34, 35.
[x] pen. 11. 41.
Cylch 1471, &c.
[y] Jos. 15. 17.
[z] Neu, *Ephrath*, ad. 19.
[4] Neu, *Reaiah*, pen. 4. 2.
[5] Neu, *Menuciaid*, neu, *Hatsiham-menucoth.*

Sumathiaid, a'r Misraiaid: o'r rhai
hyn y daeth y Sareathiaid, a'r Es-
thauliaid.
54 Meibion Salma; Bethlehem, a'r
Netophathiaid, [6] Ataroth, tŷ Joab, a
hanner y Manahethiaid, y Soriaid.
55 A thylwyth yr ysgrifenyddion,
y rhai a breswylient yn Jabes; y Ti-
rathiaid, y Simeathiaid, y Suchath-
iaid. Dyma y [a] Ceniaid, y rhai a
ddaethant o Hemath, tad tylwyth
[b] Rechab.

## PENNOD III.

1 *Meibion Dafydd,* 10 *a'i lin ef hyd Sedecïah.* 17 *Hiliogaeth Jechonïah.*

Y RHAI hyn hefyd oedd feibion
Dafydd, y rhai a anwyd iddo
ef yn Hebron; y cyntaf-anedig [a] Am-
non, o Ahinoam y [b] Jezreelees: yr ail,
[2] Daniel, o Abigail y Carmelees:
2 Y trydydd, Absalom mab Maach-
ah, merch Talmai brenhin Gesur: y
pedwerydd, Adonïah mab Haggith:
3 Y pummed, Sephatïah o Abital:
y chweched, Ithream o [c] Eglah ei
wraig.
4 Chwech a anwyd iddo yn He-
bron; ac [d] yno y teyrnasodd efe saith
mlynedd a chwe mis: a [e] thair blyn-
edd ar ddeg ar hugain y teyrnas-
odd efe yn Jerusalem.
5 [f] A'r rhai hyn a anwyd iddo yn
Jerusalem; [3] Simea, a Sobab, a Na-
than, a [g] Solomon, pedwar, o [4] Bath-
sua merch [5] Ammiel:
6 Ibhar hefyd, ac [6] Elisama, ac Eli-
phelet,
7 A Nogah, a Nepheg, a Japhïa,
8 Ac Elisama, [7] Elïada, ac Eliphe-
let, naw.
9 *Dyma* holl feibion Dafydd, heb
law meibion y gordderch-wragedd,
a [h] Thamar eu chwaer hwynt.
10 ¶ A mab Solomon *ydoedd*
[i] Rehoboam: [8] Abïah ei fab yntau;
Asa ei fab yntau; *a* Jehosaphat ei
fab yntau;
11 Joram ei fab yntau; [9] Ahazïah
ei fab yntau; Joas ei fab yntau;
12 Amasïah ei fab yntau; [2] Azarïah
ei fab yntau; Jotham ei fab yntau;
13 Ahaz ei fab yntau; Hezecïah ei
fab yntau; Manasseh ei fab yntau;
14 Amon ei fab yntau; Josïah ei
fab yntau.
15 A meibion Josïah; y cyntaf-
anedig *oedd* [3] Johanan, yr ail [4] Joa-
cim, y trydydd [5] Sedecïah, y pedwer-
ydd Sàlum.
16 A meibion [k] Joacim; [6] Jechonïah
ei fab ef, Sedecïah [l] ei fab yntau.

Cyn CRIST Cylch 1471, &c.

[6] Heb. *Aturiaid*, neu, *goronau tŷ Joab.*
[a] Barn. 1. 16.
[b] Jer. 35. 2.
Cylch 1053, &c.
[a] 2 Sam. 3. 2.
[b] Jos. 15. 56.
[2] Neu, *Chileab*, 2 Sam. 3. 3.
[c] 2 Sam. 3. 5.
[d] 2 Sam. 2. 11.
[e] 2 Sam. 5. 5.
[f] 2 Sam. 5. 14. pen. 14. 4.
[3] Neu, *Sammua*, 2 Sam. 5. 14.
[g] 2 Sam. 12. 24.
[4] Neu, *Bathseba*, 2 Sam. 11. 3.
[5] Neu, *Eliam*, 2 Sam. 11. 3.
[6] Neu, *Elisua*, 2 Sam. 5. 15.
[7] Neu, *Beeliada*, pen. 14. 7.
[h] 2 Sam. 13. 1.
[i] 1 Bren. 11. 43. a 15. 6.
[8] Neu, *Abïam*, 1 Bren. 15. 1.
[9] Neu, *Azarïah*, 2 Chron. 22. 6. neu, *Jehoahaz*, 2 Chron. 21. 17.
[2] Neu, *Uzzïah*, 2 Bren. 15. 30.
[3] Neu, *Joahaz*, 2 Bren. 23. 30.
[4] Neu, *Elïacim*, 2 Bren. 23. 34.
[5] Neu, *Mattanïah*, 2 Bren. 24. 17.
[k] Matt. 1. 11.
[6] Neu, *Joacim*, 2 Bren. 24. 6. neu, *Conïah*, Jer. 22. 24.
[l] 2 Bren. 24. 17.

Cyn CRIST Cylch 1053, &c.

17 ¶ A meibion Jechonïah; Assir,
Salathiel [m] ei fab yntau,
18 Malciram hefyd, a Phedaiah, a
Senasar, Jecamïah, a Hosamah, a
Nedabïah.
19 A meibion Pedaiah; Zoroba-
bel, a Simei: a meibion Zorobabel;
Mesùlam, a Hananïah, a Selomith
eu chwaer hwynt:
20 A Hasubah, ac Ohel, a Be-
rechïah, a Hasadïah, Jusab-hesed,
pump.
21 A meibion Hananïah; Pela-
tïah, a Jesaiah: meibion Rephaiah,
meibion Arnan, meibion Obadïah,
meibion Sechanïah.
22 A meibion Sechanïah; Semai-
ah: a meibion Semaiah; [n] Hattus,
ac Igeal, a Barïah, a Nearïah, a Sa-
phat, chwech.
23 A meibion Nearïah; Elioenai,
a Hezecïah, ac Azricam, tri.
24 A meibion Elioenai *oedd,* Ho-
daiah, ac Elïasib, a Phelaiah, ac
Accub, a Johanan, a Dalaiah, ac
Anani, saith.

[m] Matt. 1. 12.
[n] Ezra 8. 2.

## PENNOD IV.

*1, 11 Hiliogaeth Judah o Caleb mab Hur, 5 ac o Asur mab Hesron. 9 Jabes, a'i weddi. 21 Hiliogaeth Selah, 24 a Simeon, a'i ddinasoedd. 39 Eu gorfodaeth ar Gedor, a'r Amaleciaid, ym mynydd Seir.*

1300, &c.

MEIBION Judah; [a] Phares, Hes-
ron, a [2] Charmi, a Hur, a So-
bal.
2 A [3] Reaiah mab Sobal a genhedl-
odd Jahath; a Jahath a genhedl-
odd Ahumai, a Lahad. Dyma deu-
luoedd y Sorathiaid.
3 A'r rhai hyn *oedd* o dad Etam;
Jezreel, ac Isma, ac Idbas: ac enw
eu chwaer hwynt *oedd* Haselelponi.
4 A Phenuel tad Gedor, ac Ezer
tad Husah. Dyma feibion [b] Hur
cyntaf-anedig Ephratah, tad Beth-
lehem.
5 ¶ Ac i [c] Asur tad Tecoa yr oedd
dwy wragedd, Helah, a Naarah.
6 A Naarah a ddug iddo Ahuzam,
a Hepher, a Themeni, ac Hahastari.
Dyma feibion Naarah.
7 A meibion Helah *oedd,* Sereth,
a Jesoar, ac Ethnan.
8 A Chos a genhedlodd Anub,
a Sobebah, a theuluoedd Aharhel
mab Harum.
9 ¶ Ac yr oedd [4] Jabes yn anrhy-
deddusach na'i frodyr; a'i fam a
alwodd ei enw ef Jabes, gan ddy-
wedyd, Oblegid i mi *ei* ddwyn *ef*
trwy ofid.

[a] Gen. 38. 29. a 46. 12.
[2] Neu, *Chelubai,* pen. 2. 9. neu, *Caleb,* pen. 2. 18.
[3] Neu, *Haroeh,* pen. 2. 52.
[b] pen. 2. 50.
[c] pen. 2. 24.
[4] Hynny yw, *athrist.*

Cyn CRIST 1300, &c.

10 A Jabes a alwodd ar DDUW
Israel, gan ddywedyd, [5] O na lwyr
fendithit fi, ac na ehengit fy nher-
fynau, a bod dy law gyd â mi, [6] a'*m*
cadw oddi wrth ddrwg, fel na'm
gofidier! A pharodd DUW ddyfod
*iddo* yr hyn a ofynasai.
11 ¶ A Chelub brawd Suah a gen-
hedlodd Mehir, yr hwn *oedd* dad
Eston.
12 Ac Eston a genhedlodd Beth-
rapha, a Phaseah, a Thehinnah tad
[7] dinas Nahas. Dyma ddynion Re-
chah.
13 A meibion Cenaz; [d] Othniel, a
Seraiah: a meibion Othniel; [8] Ha-
thath.
14 A Meonothai a genhedlodd
Ophrah: a Seraiah a genhedlodd
Joab, tad [9] [e] glyn y crefftwyr; canys
crefftwyr oeddynt hwy.
15 A meibion Caleb mab Jephun-
neh; Iru, Elah, a Naam: a meib-
ion Elah *oedd,* [2] Cenaz.
16 A meibion Jehaleleel; Ziph, a
Ziphah, Tiria, ac Asareel.
17 A meibion Ezrah *oedd,* Jether,
a Mered, ac Epher, a Jalon: a hi a
ddug Miriam, a Sammai, ac Isbah
tad Estemoa.
18 A'i wraig ef [3] Jehudïah a ymddûg
Jered tad Gedor, a Heber tad So-
cho, a Jecuthiel tad Zanoah. A
dyma feibion Bithïah merch Pha-
raoh, yr hon a gymmerth Mered.
19 A meibion *ei* wraig [4] Hodïah,
chwaer Naham, tad Ceilah y Garm-
iad, ac Estemoa y Maachathiad.
20 A meibion Simon *oedd,* Am-
non, a Rinnah, Benhanan, a Thilon.
A meibion Isi *oedd,* Zoheth, a Ben-
zoheth.
21 ¶ *A* meibion Selah [f] mab Ju-
dah *oedd,* Er tad Lechah, a Laadah
tad Maresah, a theuluoedd tylwyth
gweithyddion llïan main, o dŷ As-
bea,
22 A Jocim, a dynion Chozeba,
a Joas, a Saraph, y rhai oedd yn
arglwyddiaethu ar Moab, a Jasubi-
lehem. Ac *y mae* y pethau hyn yn
hen.
23 Y rhai hyn *oedd* grochenydd-
ion yn cyfanneddu *ym mysg* plan-
wydd a chaeau; gyd â'r brenhin yr
arhosasant yno yn ei waith ef.
24 ¶ Meibion Simeon *oedd,* [5] Ne-
muel, a Jamin, Jarib, Zerah, *a* Saul:
25 Sàlum ei fab yntau, Mibsam ei
fab yntau, Misma ei fab yntau.
26 A meibion Misma; Hamuel ei

[5] Heb. *Os llwyr fendithi.*
[6] Heb. *a gwneuthur ymwared i mi.*
[7] Neu, *Irnahas.*
[d] Jos. 15. 7.
[8] Neu, *Hatha, a Meonothai, yr hwn a genhedlodd, &c.*
[9] Neu, trigolion *dyffryn Carasim.*
[e] Neh. 11. 35.
[2] Neu, *Ucnaz.*
[3] Neu, *Iuddewes.*
[4] Neu, *Jehudiah,* a enwyd o'r blaen.
[f] Gen. 38. 5.
[5] Neu, *Jemuel,* Gen. 46. 10. Exod. 6. 15. Num. 26. 12.

Cyn CRIST 1300, &c.

fab yntau, Zacchur ei fab yntau,
Simei ei fab yntau.
27 Ac i Simei *yr oedd* un ar bym-
theg o feibion, a chwech o ferch-
ed, ond i'w frodyr ef nid *oedd* nem-
mawr o feibion: ac nid amlhasai
eu holl deulu hwynt [6] megis meib-
ion Judah.
28 A [g] hwy a breswyliasant yn
Beerseba, a Moladah, a Hasar-sual,
29 Yn [7] Bilhah hefyd, ac yn Esem,
ac yn [8] Tolad,
30 Ac yn Bethuel, ac yn Hormah,
ac yn Siclag,
31 Ac yn Beth-marcaboth, ac yn
[9] Hasar-susim, ac yn Beth-birei, ac
yn Saaraim. Dyma eu dinasoedd
hwynt, nes teyrnasu o Dafydd.
32 A'u trefydd hwynt *oedd*, [2] Etam,
ac Ain, Rimmon, a Thochen, ac
Asan; pump o ddinasoedd.
33 A'u holl bentrefi hwynt hefyd,
y rhai *oedd* o amgylch y dinasoedd
hyn hyd [3] Baal. Dyma eu trigfan-
nau hwynt, [4] a'u hachau.
34 A Mesobab, a Jamlech, a Josah
mab Amasïah,
35 A Jöel, a Jehu mab Josibïah,
fab Seraiah, fab Asiel,
36 Ac Elioenai, a Jaacobah, a Je-
sohaiah, ac Asaiah, ac Adiel, a Jesi-
miel, a Benaiah,
37 A Ziza mab Siphi, fab Alon,
fab Jedaiah, fab Simri, fab Se-
maiah.
38 Y rhai hyn erbyn *eu* henwau
*a aethant* yn bennaethiaid yn eu
teuluoedd, ac a amlhasant dylwyth
eu tadau yn fawr.
39 ¶ A hwy a aethant i flaenau
Gedor, hyd at du dwyrain y dyffryn,
i geisio porfa i'w praidd.
40 A hwy a gawsant borfa fras,
a da, a gwlad ehang *ei* therfynau,
a heddychlawn a thangnefeddus:
canys y rhai a breswyliasent yno
o'r blaen *oedd* o [5] Cham.
41 A'r rhai hyn yn ysgrifenedig
erbyn eu henwau a ddaethant yn
nyddiau Hezecïah brenhin Judah,
ac a darawsant eu pebyll a'r an-
neddau a gafwyd yno, ac a'u di-
frodasant hwy hyd y dydd hwn,
a thrigasant yn eu lle hwynt; am
*fod* porfa i'w praidd hwynt yno.
42 Ac o honynt hwy, *sef* o feibion
Simeon, yr aeth pûm cant o ddyn-
ion i fynydd Seir, a Phelatïah, a
Nearïah, a Rephaiah, ac Uzziel,
meibion Isi, yn ben arnynt.
43 Tarawsant hefyd [h] y gweddill a

[6] Neu, *hyd feibion.*
[g] Jos. 19. 2.
[7] Neu, *Balah,* Jos. 19. 3.
[8] Neu, *Eltolad,* Jos. 19. 4.
[9] Neu, *Hasarsusah,* Jos. 19. 5.
[2] Neu, *Ether.* Jos. 19. 7.
[3] Neu, *Baalathbeer,* Jos. 19. 8.
[4] Neu, *ac fel yr ymrannasant yn genhedloedd yn eu mysg hwynt.*
Cylch 715.
[5] Neu, *Ham.*
[h] Edrych 1 Sam. 15. 8. a 30. 17. 2 Sam. 8. 12.

ddïangasai o Amalec, ac a wlad-
ychasant yno hyd y dydd hwn.

## PENNOD V.

1 *Llin Reuben, (yr hwn a gollodd ei enedig-
aeth-fraint,) hyd y caethgludiad i Babilon.*
9 *Eu trigias, a'u gorfodaeth ar yr Hagar-
iaid.* 11 *Pennaduriaid a thrigleoedd Gad.*
18 *Rhifedi a gorfodaeth Reuben, a Gad, a
hanner llwyth Manasseh.* 23 *Trigleoedd a
phennaduriaid yr hanner llwyth hwnnw.* 25
*Eu caethiwed o herwydd eu pechod.*

A MEIBION Reuben, cyntaf-
anedig Israel, (canys [a] efe *oedd*
gyntaf-anedig, ond am iddo [b] halogi
gwely ei dad, rhoddwyd [c] ei enedig-
aeth-fraint ef i feibion Joseph, mab
Israel; ac ni chyfrifir ei achau ef
yn ol yr enedigaeth-fraint:
2 Canys [d] Judah a ragorodd ar ei
frodyr, ac o hono ef *y daeth* [e] blaen-
or: a'r enedigaeth-fraint a *rodd-
wyd* i Joseph.)
3 Meibion [f] Reuben cyntaf-anedig
Israel *oedd*, Hanoch, a Phàlu, Hes-
ron, a Charmi.
4 Meibion Jöel; Semaiah ei fab ef,
Gog ei fab yntau, Simei ei fab yntau,
5 Michah ei fab yntau, Reaiah ei
fab yntau, Baal ei fab yntau,
6 Beerah ei fab yntau, yr hwn
a *gaeth*-gludodd [2] Tilgath-pilneser
brenhin Assyria: hwn *ydoedd* dy-
wysog i'r Reubeniaid.
7 A'i frodyr ef yn eu teuluoedd,
[g] wrth gymmeryd eu hachau yn eu
cenhedlaethau: y pennaf *oedd* Jeiel,
a Zecharïah,
8 A Bela mab Azaz, fab [3] Sema,
fab Jöel, yr hwn a gyfanneddodd
yn [h] Aroer, a hyd at Nebo, a Baal-
meon.
9 Ac o du y dwyrain y preswyliodd
efe, hyd y lle yr elir i'r anialwch,
oddi wrth afon Euphrates: canys
eu hanifeiliaid hwynt a amlhasai
y'ngwlad Gilead.
10 Ac yn nyddiau Saul y gwnaeth-
ant hwy ryfel yn erbyn yr Hagar-
iaid, *y rhai* a syrthiasant trwy eu
dwylaw hwynt; a thrigasant yn eu
pebyll hwynt, [4] trwy holl du dwyr-
ain Gilead.
11 ¶ A [1] meibion Gad a drigasant
gyferbyn â hwynt y'ngwlad Basan,
hyd at Salchah:
12 Jöel y pennaf, a Sapham yr ail,
a Jaanai, a Saphat, yn Basan.
13 A'u brodyr hwynt o dŷ eu
tadau *oedd*, Michael, a Mesùlam,
a Seba, a Jorai, a Jacan, a Zïa, a
Heber, saith.
14 Dyma feibion Abihail fab Huri,

Cyn CRIST Cylch 715.
1300, &c.
[a] Gen. 29. 32.
[b] Gen. 35. 22. a 49. 4.
[c] Gen. 48. 15, 22.
[d] Gen. 49. 8, 10. Ps. 60. 7. a 108. 8.
[e] Mic. 5. 2. Matt. 2. 6.
[f] Gen. 46. 9. Exod. 6. 14. Num. 26. 5.
[2] Neu, *Tiglathpileser,* 2 Bren. 15. 29.
[g] Edrych ad. 17.
[3] Neu, *Semaiah,* ad. 4.
[h] Jos. 13. 15, 16.
[4] Heb. *ar holl wyneb tu dwyrain.*
[1] Jos. 13. 11, 24.

Cyn CRIST 1300, &c.

fab Jaroah, fab Gilead, fab Michael,
fab Jesisai, fab Jahdo, fab Buz;
15 Ahi mab Abdiel, fab Guni, y
pennaf o dŷ eu tadau.
16 A hwy a drigasant yn Gilead
yn Basan, ac yn ei threfydd, ac
yn holl bentrefi [k] Saron, wrth eu
[5] terfynau.
17 Y rhai hyn oll a gyfrifwyd
wrth eu hachau, yn nyddiau [l] Jotham
brenhin Judah, ac yn nyddiau
[m] Jeroboam brenhin Israel.
18 ¶ Meibion Reuben, a'r Gad-
iaid, a hanner llwyth Manasseh, o
[6] wŷr nerthol, dynion yn dwyn tarian
a chleddyf, ac yn tynnu bwa, ac
wedi eu dysgu *i* ryfel, *oedd* bedair
mil a deugain a saith cant a thri
ugain, yn myned allan i ryfel.
19 A hwy a wnaethant ryfel yn
erbyn yr Hagariaid, a [n] Jetur, a
Nephis, a Nodab.
20 A [o] chynnorthwywyd hwynt yn
erbyn y rhai hynny, a rhoddwyd
yr Hagariaid i'w dwylaw hwynt, a
chwbl a'r *a ydoedd* gyd â hwynt:
canys llefasant ar DDUW yn y rhy-
fel, ac efe a wrandawodd arnynt, o
herwydd iddynt obeithio ynddo.
21 A hwy a gaethgludasant eu
hanifeiliaid hwynt; o'u camelod
hwynt ddengmil a deugain, ac *o*
ddefaid ddeucant a deg a deugain o
filoedd, ac *o* asynod ddwy fil, ac
*o* [7] ddynion gàn mil.
22 Canys llawer yn archolledig a
fuant feirw, am *fod* y rhyfel oddi
wrth DDUW; a hwy a drigasant yn
eu lle hwynt hyd [p] y caethiwed.
23 ¶ A meibion hanner llwyth
Manasseh a drigasant yn y tir: o
Basan hyd Baal-hermon, a Senir,
a mynydd Hermon, yr aethant hwy
yn aml.
24 Y rhai hyn hefyd *oedd* bennau
tŷ eu tadau, sef Epher, ac Isi, ac
Eliel, ac Azriel, a Jeremïah, a Ho-
dafiah, a Jadiel, gwŷr cedyrn o
nerth, gwŷr enwog, *a* phennau tŷ
eu tadau.
25 ¶ A hwy a droseddasant yn
erbyn DUW eu tadau, ac [q] a but-
teiniasant ar ol duwiau pobl y
wlad, y rhai a ddinystriasai DUW
o'u blaen hwynt.
26 A DUW Israel a annogodd ys-
pryd [r] Pul brenhin Assyria, ac ys-
pryd Tilgath-pilneser brenhin As-
syria, ac a'u *caeth*-gludodd hwynt,
sef y Reubeniaid, a'r Gadiaid, a
hanner llwyth Manasseh, ac a'u dug

k pen. 27. 29.
5 Heb. *mynediad allan.*
l 2 Bren. 15. 5, 32.
m 2 Bren. 14. 16, 28.
6 Heb. *feibion.*
n Gen. 25. 15. pen. 1. 31.
o Edrych ad. 22.
7 Heb. *eneidiau dynion:* megis Num. 31. 35.
p 2 Bren. 15. 29. a 17. 6.
q 2 Bren. 17. 7.
Cylch 771.
r 2 Bren. 15. 19.
Cylch 740.

hwynt i [s] Halah, a Habor, a Hara,
ac i afon Gozan, hyd y dydd hwn.

## PENNOD VI.

1 *Meibion Lefi.* 4 *Llin yr offeiriaid hyd y caethgludiad.* 16 *Teuluoedd Gersom, Cohath, a Merari.* 49 *Swydd Aaron, a'i lin hyd Ahimaas.* 54 *Dinasoedd yr offeiriaid a'r Lefiaid.*

MEIBION Lefi; [2 a] Gerson, Co-
hath, a Merari.
2 A meibion Cohath; Amram, [b] Is-
har, a Hebron, ac Uzziel.
3 A phlant Amram; Aaron, Moses,
a Miriam: a meibion Aaron; [c] Nadab,
ac Abihu, Eleazar, ac Ithamar.
4 ¶ Eleazar a genhedlodd Phinees,
Phinees a genhedlodd Abisua,
5 Ac Abisua a genhedlodd Bucci,
a Bucci a genhedlodd Uzzi,
6 Ac Uzzi a genhedlodd Zerahïah,
a Zerahïah a genhedlodd Meraioth,
7 Meraioth a genhedlodd Amarïah,
ac Amarïah a genhedlodd Ahitub,
8 Ac [d] Ahitub a genhedlodd Sadoc,
a [e] Sadoc a genhedlodd Ahimaas,
9 Ac Ahimaas a genhedlodd
Azarïah, ac Azarïah a genhedlodd
Johanan,
10 A Johanan a genhedlodd Aza-
rïah; (hwn [f] oedd yn offeiriad yn
[g] y tŷ a adeiladodd Solomon yn
Jerusalem:)
11 Ac [h] Azarïah a genhedlodd Am-
arïah, ac Amarïah a genhedlodd
Ahitub,
12 Ac Ahitub a genhedlodd Sadoc,
a Sadoc a genhedlodd [3] Sàlum,
13 A Sàlum a genhedlodd Hilcïah,
a Hilcïah a genhedlodd Azarïah,
14 Ac Azarïah a genhedlodd [i] Se-
raiah, a Seraiah a genhedlodd Je-
hosadac:
15 A Jehosadac a ymadawodd,
[k] pan *gaeth*-gludodd yr ARGLWYDD
Judah a Jerusalem trwy law Nabu-
chodonosor.
16 ¶ Meibion Lefi; [4 l] Gersom, Co-
hath, a Merari.
17 A dyma enwau meibion Ger-
som; Libni, a Simei.
18 A meibion Cohath; Amram, ac
Ishar, a Hebron, ac Uzziel.
19 Meibion Merari; Mahli, a Musi.
A dyma dylwyth y Lefiaid, yn ol eu
tadau.
20 I Gersom; Libni ei fab, Jahath
ei fab yntau, [m] Zimmah ei fab yntau,
21 [5] Joah ei fab yntau, [6] Ido ei
fab yntau, Zerah ei fab yntau, *a*
[7] Jeaterai ei fab yntau.
22 Meibion Cohath; [8] Aminadab

Cyn CRIST Cylch 740.
s 2 Bren. 17. 6. a 18. 11.
Cylch 1300, &c.
2 Neu, *Gersom,* ad. 16.
a Gen. 46. 11. Exod. 6. 16. Num. 26. 57. pen. 23. 6.
b Edrych ad. 22.
c Lef. 10. 1.
d 2 Sam. 8. 17.
e 2 Sam. 15. 27.
f Edrych 2 Chron. 26. 17, 18.
g 1 Bren. 6. 2 Chron. 3.
h Edrych Ezra 7. 3.
3 Neu, *Mesulam,* pen. 9. 11.
i Neh. 11. 11.
k 2 Bren. 25. 18.
4 Neu, *Gerson,* ad. 1.
l Exod. 6. 16.
m ad. 42.
5 Neu, *Ethan,* ad. 42.
6 Neu, *Adaiah,* ad. 41.
7 Neu, *Ethni,* ad 41.
8 Neu, *Ishar,* ad. 2, 18.

Cyn CRIST Cylch 1300, &c.

ei fab ef, Corah ei fab yntau, Assir
ei fab yntau,
23 Elcanah ei fab yntau, ac Ebï-
asaph ei fab yntau, ac Assir ei fab
yntau,
24 Tahath ei fab yntau, [9] Uriel ei
fab yntau, Uzzïah ei fab yntau, a
Saul ei fab yntau.
25 A meibion Elcanah; [n] Amasai,
ac Ahimoth.
26 Elcanah: meibion Elcanah;
[2] Sophai ei fab ef, a [o] Nahath ei fab
yntau,
27 [p] Elïab ei fab yntau, Jeroham
ei fab yntau, Elcanah ei fab yntau.
28 A meibion Samuel; y cyntaf-
anedig, [3] Fasni, yna Abïah.
29 Meibion Merari; Mahli, Libni
ei fab yntau, Simei ei fab yntau,
Uzzah ei fab yntau,
30 Simea ei fab yntau, Haggïah ei
fab yntau, Asaiah ei fab yntau.
31 Y rhai hyn a osododd Dafydd
yn gantorion *yn* nhŷ yr ARGLWYDD,
ar ol gorphwys o'r [q] arch.
32 A hwy a fuant weinidogion
mewn cerdd o flaen tabernacl pa-
bell y cyfarfod, nes adeiladu o So-
lomon dŷ yr ARGLWYDD yn Jeru-
salem: a hwy a safasant wrth eu
defod yn eu gwasanaeth.
33 A dyma y rhai a [4] weiniasant,
a'u meibion hefyd: o feibion y Co-
hathiaid; Heman y cantor, mab
Jöel, fab Semuel,
34 Fab Elcanah, fab Jeroham,
fab Eliel, fab [5] Toah,
35 Fab [6] Suph, fab Elcanah, fab
Mahath, fab Amasai,
36 Fab Elcanah, fab [7] Jöel, fab
Azarïah, fab Sephanïah,
37 Fab Tahath, fab Assir, fab
[r] Ebïasaph, fab Corah,
38 Fab Ishar, fab Cohath, fab
Lefi, fab Israel.
39 A'i frawd Asaph, yr hwn oedd
yn sefyll ar ei law ddehau, *sef* Asaph
mab Berachïah, fab Simea,
40 Fab Michael, fab Baasïah, fab
Malchïah,
41 Fab [s] Ethni, fab Zerah, fab
Adaiah,
42 Fab Ethan, fab Zimmah, fab
Simei,
43 Fab Jahath, fab Gersom, fab
Lefi.
44 A'u brodyr hwynt, meibion
Merari, *oedd* ar y llaw aswy: [8] E-
than mab [9] Cisi, fab Abdi, fab Màluc,
45 Fab Hasabïah, fab Amasïah,
fab Hilcïah,

[9] Neu, *Zephanïah, Azarïah, Jöel*, ad. 36.
[n] Edrych ad. 35, 36.
[2] Neu, *Suph*, ad. 35. 1 Sam. 1. 1.
[o] ad. 34, *Toah.*
[p] ad. 34, *Eliel.*
[3] A elwir *Jöel*, ad. 33. a 1 Sam. 8. 2.
Cylch 1280, &c.
[q] pen. 1. 16.
[4] Heb. *safasant.*
[5] ad. 26, *Nahath.*
[6] ad. 26, *Sophai.*
[7] ad. 24, *Saul, Uzzïah, Urïel.*
[r] Exod. 6. 24.
[s] Edrych ad. 21.
[8] A elwir *Jeduthun*, pen. 9. 16. a 25. 1, 3, 6.
[9] Neu, *Cusaiah*, pen. 15. 17.

46 Fab Amsi, fab Bani, fab Samer,
47 Fab Mahli, fab Musi, fab Me-
rari, fab Lefi.
48 A'u brodyr hwynt y Lefiaid
*oedd* gwedi eu rhoddi ar holl was-
anaeth tabernacl tŷ DDUW.
49 ¶ Ond Aaron a'i feibion a ab-
erthasant [t] ar allor y poeth-offrwm,
ac [u] ar allor yr arogl-darth, i *gyflawni*
holl wasanaeth y cyssegr sancteidd-
iolaf, ac i wneuthur cymmod dros
Israel, yn ol yr hyn oll a orchymyn-
asai Moses gwas DUW.
50 Dyma hefyd feibion Aaron;
Eleazar ei fab ef, Phinees ei fab
yntau, Abisua ei fab yntau,
51 Bucci ei fab yntau, Uzzi ei fab
yntau, Zerahïah ei fab yntau,
52 Meraioth ei fab yntau, Amarïah
ei fab yntau, Ahitub ei fab yntau,
53 Sadoc ei fab yntau, Ahimaas
ei fab yntau.
54 ¶ [x] A dyma eu trigleoedd hwynt
yn ol eu palasau, yn eu terfynau;
*sef* meibion Aaron, o dylwyth y
Cohathiaid: oblegid eiddynt hwy
ydoedd y rhan hon.
55 [y] A rhoddasant iddynt Hebron
y'ngwlad Judah, a'i meusydd pen-
trefol o'i hamgylch.
56 [z] Ond meusydd y ddinas, a'i
phentrefi, a roddasant hwy i Caleb
mab Jephunneh.
57 Ac [a] i feibion Aaron y rhoddas-
ant hwy ddinasoedd Judah, *sef* He-
bron, *y ddinas* noddfa, a Libnah a'i
meusydd pentrefol, a Jattir ac Este-
moa, a'u meusydd pentrefol,
58 A [2] Hilen a'i meusydd pentrefol,
a Debir a'i meusydd pentrefol,
59 Ac [3] Asan a'i meusydd pentrefol,
a Bethsemes a'i meusydd pentrefol:
60 Ac o lwyth Benjamin; Geba
a'i meusydd pentrefol, ac [4] Alemeth
a'i meusydd pentrefol, ac Anathoth
a'i meusydd pentrefol: eu holl ddin-
asoedd hwynt trwy eu teuluoedd
*oedd* dair dinas *ar* ddeg.
61 Ac [b] i'r rhan arall o feibion
Cohath o deulu y llwyth hwnnw,
*y rhoddwyd* o'r hanner llwyth, *sef*
hanner Manasseh, ddeg dinas [c] wrth
goelbren.
62 *Rhoddasant* hefyd i feibion
Gersom trwy eu teuluoedd, o lwyth
Issachar, ac o lwyth Aser, ac o
lwyth Naphtali, ac o lwyth Manas-
seh yn Basan, dair ar ddeg o ddin-
asoedd.
63 I feibion Merari trwy eu teulu-
oedd, o lwyth Reuben, ac o lwyth

Cyn CRIST Cylch 1280, &c.
1444, &c.
[t] Lef. 1. 9.
[u] Exod. 30. 7.
[x] Jos. 21.
[y] Jos. 21. 11.
[z] Jos. 14. 13. a 15. 13.
[a] Jos. 21. 13.
[2] Neu, *Holon*, Jos. 15. 51. a 21. 15.
[3] Neu, *Ain*, Jos. 21. 16.
[4] Neu, *Almon*, Jos. 21. 18.
[b] ad. 66.
[c] Jos. 21. 5.

Cyn CRIST Cylch 1520.

## PENNOD VIII.

1 *Bildad yn dangos gyfiawned ydyw Duw, gan ei fod yn gwneuthur â phawb yn ol ei weithred: 8 yn dangos o'r hen oesoedd gynt, mor sicr yw dinystr y rhagrithiwr: 20 yn bwrw at Job gyfiawned y gwna Duw â phawb.*

YNA Bildad y Suhiad a attebodd ac a ddywedodd,
2 Pa hyd y dywedi di hynny? ac *y bydd* geiriau dy enau *megis* gwynt cryf?
3 [a] A ŵyra DUW farn? neu a ŵyra yr Hollalluog gyfiawnder?
4 Os dy feibion a bechasant yn ei erbyn ef; a bwrw o hono ef hwynt ymaith [2] am eu camwedd;
5 [b] Os tydi a fore-godi at DDUW, ac a weddii ar yr Hollalluog;
6 Os pur ac uniawn *fyddi*, yn wir efe a ddeffry attat ti yr awrhon, ac a wna drigfa dy gyfiawnder yn llwyddiannus.
7 Er bod dy ddechreuad yn fychan, etto dy ddiwedd a gynnydda yn ddirfawr.
8 [c] Oblegid gofyn, attolwg, i'r oes gynt, ac ymbarottoa i chwilio eu hynafiaid hwynt:
9 (Canys [d] *er* doe yr ydym ni, ac ni wyddom *ddim*, o herwydd cysgod *yw* ein dyddiau ni ar y ddaear:)
10 Oni ddysgant hwy di? *ac oni* ddywedant i ti? ac *oni* ddygant ymadroddion allan o'u calon?
11 A gyfyd brwynen heb wlybaniaeth? a dyf hesg heb ddwfr?
12 [e] Tra fyddo hi etto yn wyrddlas heb ei thorri, hi a wywa o flaen pob glaswelltyn.
13 Felly *y mae* llwybrau pawb a'r sydd yn gollwng DUW dros gôf, ac [f] y derfydd am obaith y rhagrithiwr:
14 Yr hwn y torrir ymaith ei obaith; ac *fel* [g] tŷ pryf coppyn *y bydd* ei hyder ef.
15 [h] Efe a bwysa ar ei dŷ, ond ni saif; efe a ymeifl ynddo, ond ni phery.
16 Y mae efe yn îr o flaen yr haul, ac yn ei ardd y daw ei frig allan.
17 Plethir ei wraidd ef ynghylch y pentwr, *ac* efe a wêl le cerrig.
18 Os diwreiddia efe ef allan o'i le, [i] efe a'i gwad ef, *gan ddywedyd,* Ni'th welais.
19 Wele, dyma lawenydd ei ffordd ef: ac o'r ddaear y blagura eraill.
20 Wele, ni wrthyd DUW y perffaith, ac nid ymeifl efe yn llaw y rhai drygionus;

[a] Gen. 18. 25. Deut. 32. 4. 2 Chron. 19. 7. pen. 34. 17. Dan. 9. 14. Rhuf. 3. 5.
[2] Heb. *trwy law eu camwedd.*
[b] pen. 5. 8. a 11. 13. a 22. 23, &c.
[c] Deut. 4. 32. pen. 15. 18.
[d] Gen. 47. 9. 1 Chron. 29. 15. pen. 7. 6. Ps. 39. 5. a 144. 4.
[e] Ps. 129. 6. Jer. 17. 6.
[f] pen. 11. 20. a 18. 14. Ps. 112. 10. Diar. 10. 28.
[g] Es. 59. 5, 6.
[h] pen. 27. 18.
[i] pen. 7. 10. Ps. 37. 36.

21 Oni lanwo efe dy enau di â chwerthin, a'th wefusau â [3] gorfoledd.
22 A gwisgir dy gaseion di â chywilydd, ac ni bydd lluesty yr annuwiol.

## PENNOD IX.

1 *Job yn cydnabod gyfiawned yw Duw, ac yn dangos nad gwiw ymryson âg ef.* 22 *Nad wrth ei gystudd y mae barnu gwiriondeb dyn.*

YNA Job a attebodd ac a ddywedodd,
2 Yn wir mi a wn mai felly *y mae:* canys pa fodd [a] y cyfiawnhêir dyn gyd â DUW?
3 Os myn efe ymryson âg ef, ni all atteb iddo *am* un *peth* o fil.
4 [b] *Y mae* efe yn ddoeth o galon, ac yn alluog o nerth: pwy a ymgaledodd yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd?
5 Yr hwn sydd yn symmud mynyddoedd, ac heb wybod iddynt: yr hwn sydd yn eu dymchwelyd hwynt yn ei ddigofaint.
6 Yr hwn sydd yn cynhyrfu y ddaear allan o'i lle, fel y cryno ei cholofnau hi.
7 Yr hwn a ddywed wrth yr haul, ac ni chyfyd: ac a selia ar y sêr.
8 [c] Yr hwn yn unig sydd yn taenu y nefoedd, ac yn sathru ar [2] donnau y môr.
9 [d] Yr hwn sydd yn gwneuthur [3] Arcturus, Orïon, a Phleiades, ac ystafelloedd y dehau.
10 [e] Yr hwn sydd yn gwneuthur pethau mawrion anchwiliadwy, a rhyfeddodau aneirif.
11 [f] Wele, efe a â heibio i mi, ac nis gwelaf *ef;* ac efe a â rhagddo, ac ni chanfyddaf ef.
12 [g] Wele, efe a ysglyfaetha, pwy a'i [4] lluddia? pwy a ddywed wrtho, Pa beth yr wyt yn ei wneuthur?
13 Oni thry DUW ei ddigllonedd ymaith, dano ef y crymma cynnorthwywyr [5] balchder.
14 Pa faint llai yr attebaf iddo ef, *ac y* gallaf ddewis fy ngeiriau *i ymresymmu* âg ef?
15 I'r hwn, pe bawn cyfiawn, nid attebwn, *eithr* ymbiliwn â'm barnwr.
16 Pe galwaswn, a phed attebasai efe i mi, ni chredwn y gwrandawai efe fy llefervdd.
17 Canys efe a'm dryllia â chorwynt, ac a amlhâ fy archollion [h] yn ddïachos.

Cyn CRIST Cylch 1520.

[3] Heb. *bloedd gorfoledd.*
[a] Ps. 143. 2.
[b] pen. 36. 5.
[c] Gen. 1. 6. Ps. 104. 2, 3.
[2] Heb. *uchelderau.*
[d] pen. 38. 31, &c. Amos 5. 8.
[3] Heb. *As, Cesil, a Chimah.*
[e] pen. 5. 9. Ps. 71. 15.
[f] pen. 23. 8, 9.
[g] Es. 45. 9. Jer. 18. 6. Rhuf. 9. 20.
[4] Heb. *a'i try yn ol?* pen. 11. 10.
[5] Neu, *nerth.*
[h] pen. 2. 3. a 34. 6.

Cyn CRIST Cylch 1520.

18 Ni ddïoddef efe i mi gymmer-
yd fy anadl: ond efe a'm lleinw â
chwerwder.
19 Os *soniaf* am gadernid, wele
ef yn gadarn: ac os am farn, pwy
a ddadleu drosof fi?
20 Os myfi a ymgyfiawnhâf, fy
ngenau a'm barn yn euog: *os* per-
ffaith *y dywedaf fy mod,* efe a'm
barn yn gildyn.
21 *Pe byddwn* berffaith, *etto* nid
adwaenwn fy enaid: ffiaidd *fyddai*
gennyf fy einioes.
22 Dyma un *peth,* am hynny mi
[i] Preg. 9. 2, 3. a'i dywedais: [i] y mae efe yn difetha
y perffaith a'r annuwiol.
23 Os lladd y ffrewyll yn ddisym-
mwth, efe a chwardd am ben prof-
edigaeth y diniwed.
24 Y ddaear a roddwyd yn llaw
yr annuwiol: efe a fwrw hûg dros
wynebau ei barnwyr hi: onid ê, pa
le *y mae, a* phwy *yw efe?*
[k] pen. 7. 6. 25 [k] A'm dyddiau i sydd gynt na
rhedegwr: ffoant ymaith heb weled
daioni.
26 Aethant heibio megis llongau
[6] Heb. *dymuniad,* neu, *Ebeh.* [6] buain; [l] megis yr eheda eryr at
[l] Hab. 1. 8. ymborth.
[m] pen. 7. 13. 27 [m] Os dywedaf, Gollyngaf fy
nghŵyn dros gôf; mi a adawaf fy
nhrymder, ac a ymgysuraf:
28 Yr wyf yn ofni fy holl ddolur-
iau: gwn na'm berni yn wirion.
29 *Os* euog fyddaf, paham yr ym-
flinaf yn ofer?
[n] Jer. 2. 22. 30 [n] Os ymolchaf mewn dwfr eira,
ac *os* glanhâf fy nwylaw yn lân;
31 Etto ti a'm trochi yn y pwll;
a'm dillad a'm ffieiddiant.
[o] Preg. 6. 10. Es. 45. 9. Jer. 49. 19. Rhuf. 9. 20. 32 Canys [o] nid gwr fel myfi *yw*
*efe,* fel yr attebwn iddo, *ac* y delem
ynghyd i farn.
[p] ad. 19. 1 Sam. 2. 25. 33 [p] Nid oes rhyngom ni [7] ddyddiwr
[7] Heb. *argyhoeddwr,* neu, *resymmwr.* a all osod ei law arnom ein dau.
[q] pen. 13. 20. a 33. 7. 34 [q] Tynned ymaith ei wïalen oddi
arnaf; ac na ddychryned ei ofn ef
fyfi:
35 Yna y dywedwn, ac nid ofnwn
[8] Heb. *myfi.* ef: ond nid felly [8] y mae gyd â
myfi.

## PENNOD X.

1 *Job yn cymmeryd rhyddid i achwyn, ac yn ymliw â Duw o achos ei gystudd,* 18 *yn cwyno ei fod yn fyw, ac yn erfyn cael ychydig esmwythdra cyn ei farw.*

[a] pen. 7. 16. Y MAE [a] fy enaid [2] yn blino ar fy
[2] Neu, *wedi ei dorri ymaith tra fwyf byw.* einioes: arnaf fy hun y gad-
awaf fy nghŵyn; ac yn chwerwder
fy enaid y llefaraf.
2 Dywedaf wrth DDUW, Na farn
fi yn euog; gwna i mi wybod pa-
ham yr ymrysoni â mi.
3 Ai da i ti orthrymmu, fel y dï-
ystyrit [3] waith dy ddwylaw, ac y [3] Heb. *lafur.*
llewyrchit gynghor yr annuwiol?
4 Ai llygaid o gnawd sydd i ti? ai
[b] fel y gwel dyn y gweli di? [b] 1 Sam. 16. 7.
5 *A ydyw* dy ddyddiau di fel
dyddiau dyn? *a ydyw* dy flynydd-
oedd di fel dyddiau gwr,
6 Pan geisi fy anwiredd, a phan
ymofyni am fy mhechod?
7 [4] Ti a wyddost nad ydwyf annuw- [4] Heb. Mae *ar dy wybodaeth di.*
iol; ac nid *oes* a waredo o'th law di.
8 Dy ddwylaw di a'm gweithias-
ant, ac a'm cyd-luniasant o am-
gylch; etto fy nifetha yr wyt.
9 Cofia, attolwg, mai [c] fel clai y [c] Gen. 2. 7. a 3. 19.
gwnaethost fi; ac a ddygi di fi i'r
pridd drachefn?
10 [d] Oni thywelltaist fi fel llaeth; [d] Ps. 139. 14, 15, 16.
ac oni cheulaist fi fel caws?
11 Ti a'm gwisgaist i â chroen, ac
â chnawd; ti a'm [5] diffynnaist i âg [5] Heb. *cauaist.*
esgyrn ac â gïau.
12 Bywyd a thrugaredd a ddar-
peraist i mi, a'th ymgeledd a gadw-
odd fy yspryd.
13 A'r *pethau* hyn a guddiaist ti
yn dy galon: gwn *fod* hyn gyd â
thi.
14 Os pechaf, ti a'm gwyli, ac ni'm
glanhêi oddi wrth fy anwiredd.
15 Os ydwyf annuwiol, gwae fi;
ac [e] *os* cyfiawn ydwyf, *er hynny* ni [e] pen. 9. 20.
chodaf fy mhen: *yr ydwyf* yn
llawn o warthrudd, am hynny gwel
fy nghystudd;
16 Canys cynnyddu y mae: [f] fy [f] Es. 38. 13. Galar. 3. 10.
hela yr ydwyt fel llew creulawn:
er hynny drachefn ti a wnei yn
rhyfedd â mi.
17 Yr wyt ti yn adnewyddu dy
dystion i'm herbyn, ac yn amlhâu
dy ddigofaint wrthyf; cyfnewidiau
a rhyfel *sydd* i'm herbyn.
18 [g] Paham gan hynny y dygaist fi [g] pen. 3. 11.
allan o'r groth? *O na* buaswn farw,
ac na'm gwelsai llygad!
19 Mi a fuaswn megis pe na bu-
aswn, a myfi a ddygasid o'r bru i'r
bedd.
20 [h] Onid ychydig *yw* fy nyddiau? [h] Edrych pen. 7. 16. a 8. 9.
[i] paid *gan hynny,* [k] gâd i'm lonydd, [i] Ps. 39. 13.
fel yr ymgysurwyf ychydig; [k] pen. 7. 16, 19.
21 Cyn myned o honof lle ni
ddychwelwyf, i dir tywyllwch a
chysgod angau;
22 Tir tywyllwch fel y fagddu, *a*
chysgod angau, a heb drefn; *lle y*
*mae* y goleuni fel y tywyllwch.

Cyn CRIST Cylch 1520.

## PENNOD XI.

*1 Sophar yn ceryddu Job am ei gyfiawnhâu ei hun, 5 ac yn dangos mor anchwiliadwy ydyw doethineb Duw. 13 Sicred yw bendith edifeirwch.*

A SOPHAR y Naamathiad a attebodd ac a ddywedodd,
2 Oni attebir amlder geiriau? ac
a gyfiawnhêir gwr [2] siaradus?
3 Ai dy [3] gelwyddau a wna i wŷr
dewi? a phan watwarech, oni bydd
a'th waradwyddo?
4 Canys [a] dywedaist, Pur *ydyw* fy
nysgeidiaeth, a glân ydwyf yn dy
olwg di.
5 Ond, O na lefarai DUW, ac *nad*
agorai ei wefusau yn dy erbyn,
6 A mynegi i ti ddirgeledigaethau
doethineb, eu bod yn ddau cymmaint
a'r hyn sydd! Cydnebydd
gan hynny [b] i DDUW ofyn gennyt
lai nag a haeddai dy anwiredd.
7 [c] A elli di wrth chwilio gael gafael
ar DDUW? a elli di gael yr
Hollalluog hyd berffeithrwydd?
8 [4] Cyfuwch a'r nefoedd *ydyw*, beth
a wnei di? dyfnach nag uffern *yw*,
beth a elli di ei wybod?
9 *Mae* ei fesur ef yn hŵy na'r
ddaear, ac yn llettach na'r môr.
10 [d] Os tyrr efe ymaith, ac os
carchara: os casgl ynghyd, pwy
a'i [5] rhwystra ef?
11 Canys [e] efe a edwyn ofer ddynion,
ac a wêl anwiredd; onid ystyria
efe gan hynny?
12 [f] Dyn gwag er hynny a gymmer
arno fod yn ddoeth; er geni dyn
fel llwdn asen wŷllt.
13 [g] Os tydi a barottôi dy galon, ac
[h] a estyni dy ddwylaw atto ef;
14 Od *oes* drygioni yn dy law,
bwrw ef ymaith ym mhell, ac na
ddïoddef i anwiredd drigo yn dy
luestai:
15 Canys yna [i] y codi dy wyneb yn
ddifrychau; ïe, byddi safadwy, ac
nid ofni:
16 Oblegid ti a ollyngi *dy* ofid
dros gôf: fel dyfroedd *y rhai* a
aethant heibio y cofi *ef*.
17 *Dy* oedran hefyd [k] a [6] fydd disgleiriach
na hanner dydd; llewyrchi,
*a* byddi fel y bore-ddydd.
18 Hyderus fyddi hefyd, o herwydd
bod gobaith: ïe, ti a gloddi,
*ac* [l] a orweddi mewn dïogelwch.
19 Ti a orweddi hefyd, ac ni *bydd*
*a'th* ddychryno, a llawer [m] a ymbiliant
â'th wyneb.
20 Ond llygaid yr annuwiolion a
ddiffygiant, metha ganddynt ffoi,
[n] a'u gobaith *fydd fel* ymadawiad
yr enaid.

[2] Heb. *gwefusau.*
[3] Neu, *ddychymmygion.*
[a] pen. 6. 10. a 10. 7.
[b] Ezra 9. 13.
[c] Preg. 3. 11. Rhuf. 11. 33.
[4] Heb. *Uchelderau y nefoedd.*
[d] pen. 9. 12. a 12. 14. Dat. 3. 7.
[5] Neu, *try heibio?* pen. 9. 12.
[e] Ps. 10. 11, 14. a 35. 22.
[f] Ps. 73. 22. a 92. 6. Preg. 3. 18.
[g] pen. 5. 8. a 22. 21.
[h] Ps. 88. 9. a 143. 6.
[i] Edrych Gen. 4. 5, 6. pen. 22. 26.
[k] Ps. 37. 6. a 112. 4. Es. 58. 8.
[6] Heb. *gyfyd uwchlaw.*
[l] Lef. 26. 5, 6. Ps. 3. 5. a 4. 8. Diar. 3. 24.
[m] Ps. 45. 12.
[n] pen. 8. 14. a 18. 14.

## PENNOD XII.

*1 Job yn ei amddiffyn ei hun yn erbyn ei gyfeillion oedd yn ei geryddu; 7 yn cydnabod fod Duw yn hollalluog.*

A JOB a attebodd ac a ddywedodd,
2 Dïau mai chwychwi *sydd* bobl;
a chyd â chwi y bydd marw doethineb.
3 Eithr [a] *y mae* gennyf fi [2] ddeall fel
chwithau, nid ydwyf fi [3] waeth na
chwithau; [4] a phwy ni ŵyr y fath
bethau a hyn?
4 [b] Yr ydwyf *fel* un a watwarid
gan ei gymmydog, yr hwn a eilw ar
DDUW, ac efe a'i hettyb: [c] gwatwargerdd
*yw* y cyfiawn perffaith.
5 Lamp ddïystyr ym meddwl y
llwyddiannus, *yw* yr hwn sydd barod
i lithro â'i draed.
6 [d] Llwyddiannus yw lluestai yspeilwyr,
ac y mae dïogelwch i'r rhai
sydd yn cyffroi DUW, y rhai y cyfoethoga
DUW eu dwylaw.
7 Ond gofyn yn awr i'r anifeiliaid,
a hwy a'th ddysgant; ac i ehediaid
yr awyr, a hwy a fynegant i ti.
8 Neu dywed wrth y ddaear, a hi
a'th ddysg; a physgod y môr a hysbysant
i ti.
9 Pwy ni ŵyr yn y rhai hyn oll,
mai llaw yr ARGLWYDD a wnaeth
hyn?
10 [e] Yr hyn *y mae* [5] einioes pob
peth byw yn ei law, ac anadl pob
[6] math ar ddyn.
11 [f] Onid y glust a farna ymadroddion?
[7] a'r genau a archwaetha
ei fwyd?
12 Doethineb *sydd* mewn henuriaid;
a deall mewn hir ddyddiau.
13 [g] Gyd âg ef *y mae* doethineb
a chadernid; cynghor a deall sydd
ganddo.
14 Wele, [h] efe a ddistrywia, ac nid
adeiledir: [i] efe a gau ar wr, ac nid
agorir arno.
15 Wele, efe a attal y dyfroedd,
a hwy a sychant: efe a'u denfyn
hwynt, a hwy a ddadymchwelant
y ddaear.
16 [k] Gyd âg ef *y mae* nerth a
doethineb: efe bïau y twylledig,
a'r twyllodrus.
17 Efe sydd yn gwneuthur i gynghoriaid
fyned yn anrhaith; ac [l] efe
a ynfyda farnwyr.
18 Efe sydd yn dattod rhwym

Cyn CRIST Cylch 1520.

[a] pen. 13. 2.
[2] Heb. *galon.*
[3] Heb. *yn cwympo yn is na, &c.*
[4] Heb. *a chyd â phwy nid yw y fath hyn?*
[b] pen. 16. 10. a 17. 2, 6. a 21. 3. a 30. 1.
[c] Diar. 14. 2.
[d] pen. 21. 7. Ps. 37. 1, 35. a 73. 11, 12. a 92. 7. Jer. 12. 1. Mal. 3. 15.
[e] Num. 16. 22.
[5] Neu, *enaid.*
[6] Heb. *cnawd dyn.*
[f] pen. 34. 3.
[7] Heb. *a thaflod y genau,* pen. 6. 30.
[g] pen. 36. 5.
[h] pen. 11. 10.
[i] Es. 22. 22. Dat. 3. 7.
[k] ad. 13.
[l] 2 Sam. 15. 31. a 17. 14, 23. Es. 19. 12. 1 Cor. 1. 19.

Cyn CRIST Cylch 1520.

brenhinoedd, ac yn rhwymo gwreg-
ys am eu llwynau hwynt.
19 Efe sydd yn gwneuthur i dy-
wysogion fyned yn anrhaith; ac a
blyga y rhai cedyrn.
20 [m]Efe sydd yn dwyn ymaith
[8]ymadrodd y ffyddlawn; ac yn
dwyn synwyr y rhai hen.
21 [n]Efe sydd yn tywallt dïystyr-
wch ar dywysogion; ac yn [9]gwan-
hâu nerth y rhai cryfion.
22 [o]Efe sydd yn datguddio *pethau*
dyfnion allan o dywyllwch; ac yn
dwyn cysgod angau allan i oleuni.
23 [p]Efe sydd yn amlhâu y cenhedl-
oedd, ac yn eu distrywio hwynt:
efe sydd yn ehengi ar y cenhedl-
oedd, ac efe a'u dwg hwynt *i gyf-
yngdra.*
24 Efe sydd yn dwyn calon pen-
naethiaid pobl y ddaear; ac [q]efe a
wna iddynt grwydro mewn anial-
wch heb ffordd.
25 Hwy a balfalant yn y tywyll-
wch heb oleuni; ac efe a wna idd-
ynt hwy gyfeiliorni fel meddwyn.

m pen. 32. 9. Es. 3. 2, 3.
8 Heb. *gwefus y ffyddlawn.*
n Ps. 107. 40. Dan. 2. 21.
9 Heb. *dattod gwregys y cryfion.*
o Dan. 2. 22. Matt. 10. 26. 1 Cor. 4. 5.
p Ps. 107. 38.
q Ps. 107. 4, 40.

## PENNOD XIII.

1 *Job yn argyhoeddi ei gyfeillion am eu bod yn dueddol;* 14 *yn dangos ei ymddiried yn Nuw,* 20 *ac yn dymuno cael gwybod ei bechodau, ac amcan Duw wrth ei gystuddio ef.*

WELE, fy llygad a welodd *hyn*
oll; fy nghlust a'i clywodd
ac a'i deallodd.
2 [a]Mi a wn yn gystal a chwithau:
nid ydwyf waeth na chwithau.
3 [b]Yn wir myfi a lefaraf wrth yr
Hollalluog, ac yr ydwyf yn chwen-
nychu ymresymmu â DUW.
4 Ond rhai yn asio celwydd *ydych*
chwi: [c]meddygon diddym *ydych*
chwi oll.
5 O gan dewi na thawech! a [d]*hyn-
ny* a fyddai i chwi yn ddoethineb.
6 Clywch, attolwg, fy rheswm, a
gwrandêwch ar ddadl fy ngwefusau.
7 [e]A ddywedwch chwi anwiredd
dros DDUW? ac a ddywedwch chwi
dwyll er ei fwyn ef?
8 A dderbyniwch chwi ei wyneb
ef? a ymrysonwch chwi dros DDUW?
9 Ai da *fydd hyn* pan chwilio efe
chwi? a dwyllwch chwi ef fel twyllo
dyn?
10 Gan geryddu efe a'ch cerydda
chwi, os derbyniwch wyneb yn
ddirgel.
11 Oni ddychryna ei ardderchowg-
rwydd ef chwi? ac oni syrth ei
arswyd ef arnoch?
12 Cyffelyb i ludw *ydyw* eich
coffadwriaeth chwi; *a'ch* cyrph i
gyrph o glai.
13 Tewch, [2]gadêwch lonydd, fel y
llefarwyf finnau; a deued arnaf yr
hyn *a ddelo.*
14 Paham y [f]cymmeraf fy nghnawd
â'm dannedd? ac [g]y gosodaf fy ein-
ioes yn fy llaw?
15 [h]Pe lladdai efe fi, etto mi a
obeithiaf ynddo ef: er hynny fy
ffyrdd a [3]ddiffynnaf ger ei fron ef.
16 Hefyd efe *fydd* iachawdwr-
iaeth i mi: canys ni ddaw rhag-
rithiwr yn ei ŵydd ef.
17 Gan wrandaw gwrandêwch fy
ymadrodd, ac a fynegwyf, â'ch
clustiau.
18 Wele, yn awr trefnais *fy* achos;
gwn y'm cyfiawnhêir.
19 Pwy ydyw yr *hwn* a ymddadl-
eu â mi? canys yn awr *os* tawaf,
mi a drengaf.
20 [i]Ond dau *beth* na wna i mi:
yna nid ymguddiaf rhagot.
21 Pellhâ dy law oddi arnaf: ac
na ddychryned dy ddychryn fi.
22 Yna galw, a myfi a attebaf:
neu myfi a lefaraf, ac atteb di fi.
23 Pa faint o gamweddau ac o
bechodau *sydd* ynof? pâr i mi
wybod fy nghamwedd a'm pechod.
24 [k]Paham y cuddi dy wyneb, ac
[l]y cymmeri fi yn elyn i ti?
25 [m]A ddrylli di ddeilen ysgwyd-
edig? a ymlidi di soflyn sych?
26 Canys yr wyt ti yn ysgrifenu
pethau chwerwon yn fy erbyn; ac
yn [n]gwneuthur i mi feddiannu
camweddau fy ieuengctid.
27 Ac [o]yr ydwyt ti yn gosod fy
nhraed mewn cyffion, ac yn gwyl-
ied ar fy holl lwybrau; *ac* yn nodi
[4]gwadnau fy nhraed.
28 [5]Ac efe, megis pydrni, a heneidd-
ia, fel dilledyn yr hwn a ysa gwyfyn.

a pen. 12. 3.
b pen. 23. 3. a 31. 35.
c pen. 6. 21. a 16. 2.
d Diar. 17. 28.
e pen. 17. 5. a 32. 21. a 36. 4.

Cyn CRIST Cylch 1520.

2 Heb. *oddi wrthyf.*
f pen. 18. 4.
g 1 Sam. 28. 21. Ps. 119. 109.
h Ps. 23. 4. Diar. 14. 32.
3 Heb. *brofaf,* neu, *argyhoeddaf.*
i pen. 9. 34. a 33. 7.
k Deut. 32. 20. Ps. 13. 1.
l Deut. 32. 42. Ruth 1. 21. pen. 16. 9. a 19. 11. a 33. 10. Galar. 2. 5.
m Es. 42. 3.
n Ps. 25. 7.
o pen. 33. 11.
4 Heb. *gwraidd.*
5 Y *cyfryw un* &c.

## PENNOD XIV.

1 *Job yn ymbil â Duw am ei ffafr, o herwydd byrred oes dyn, a sicred marwolaeth.* 7 *Er nas gellir cael einioes, wedi ei cholli unwaith, etto y mae efe yn disgwyl am gael ei newidio.* 16 *Trwy bechod y mae y creadur dan lygredigaeth.*

DYN a aned o wraig *sydd* fyr o
ddyddiau, a [a]llawn o helbul.
2 [b]Fel blodeuyn y daw allan, ac y
torrir ef ymaith; ac efe a gilia fel
cysgod, ac ni saif.
3 A agori di dy lygaid ar y fath yma?
ac a ddygi di fi i farn gyd â thi?
4 [c]Pwy a ddyry *beth* glân allan o
*beth* aflan? neb.
5 [d]Gan *fod* ei ddyddiau ef wedi

a Preg. 2. 23.
b pen. 8. 9. Ps. 90. 5, 6, 9. a 102. 11. a 103. 15. a 144. 4. Es. 40. 6. Iago 1. 10, 11. a 4. 14. 1 Petr 1. 24.
c Gen. 5. 3. Ps. 51. 5. Ioan 3. 6. Rhuf. 5. 12. Eph. 2. 3.
d pen. 7. 1.

Cyn CRIST Cylch 1520.

eu rhag-derfynu, rhifedi ei fisoedd
ef gyd â thi, a gosod o honot ei
derfynau, fel nad êl drostynt:
6 [e]Tro oddi wrtho, fel y [2]gor-
phwyso, hyd oni orpheno, [f]fel gwas
cyflog, ei ddiwrnod.
7 Canys y mae gobaith o bren, er
ei dorri, y blagura efe etto, ac na
phaid ei flagur ef *â thyfu.*
8 Er heneiddio ei wreiddyn ef yn
y ddaear, a marweiddio ef foncyff
ef yn y pridd;
9 Efe a flagura oddi wrth arogl
dyfroedd, ac a fwrw ganghennau
fel planhigyn.
10 Ond gwr a fydd marw, ac a
dorrir ymaith; a dyn a drenga, a
pha le *y mae?*
11 *Fel* y mae dyfroedd yn pallu
o'r môr, a'r afon yn myned yn
ddïysbydd, ac yn sychu:
12 Felly gwr a orwedd, ac ni
chyfyd hyd [g]oni *byddo* heb nef-
oedd; ni ddihunant, ac ni ddeffro-
ant o'u cwsg.
13 O na chuddit fi yn y bedd!
*na'm* cedwit yn ddirgel, nes troi dy
lid ymaith! *na* osodit amser nod-
edig i mi, a'm cofio!
14 Os bydd gwr marw, a fydd
efe byw *drachefn?* disgwyliaf holl
ddyddiau fy milwriaeth, hyd oni
ddelo fy nghyfnewidiad.
15 Gelwi, a myfi a'th attebaf;
chwennychi waith dy ddwylaw.
16 Canys yr awr hon [h]y rhifi fy
nghamrau: onid wyt yn gwylied ar
fy mhechod?
17 Fy nghamwedd [i]a selied mewn
côd; a thi a wnïaist i fynu fy an-
wiredd.
18 Ac yn wir, y mynydd a syrthio
a ddiflanna; a'r graig a symmudir
o'i lle.
19 Dyfroedd a dreuliant y cerrig;
yr wyt yn [3]golchi ymaith y pethau
sydd yn tyfu o bridd y ddaear, ac
yn gwneuthur i obaith dyn golli.
20 Yr wyt yn ei orchfygu ef yn
dragywydd, fel yr elo ymaith: a
chan newidio ei wyneb ef, yr wyt
yn ei ddanfon ef i ffordd.
21 Ei feibion ef a ddaw i anrhyd-
edd, ac [k]nis gwybydd efe: a hwy a
ostyngir, ac ni ŵyr efe oddi wrthynt:
22 Ond ei gnawd arno a ddoluria,
a'i enaid ynddo a alara.

e pen. 7. 16, 19. a 10. 20. Ps. 39. 13.
2 *peidio.*
f pen. 7. 1.
g Ps. 102. 26. Es. 51. 6. a 65. 17. a 66. 22. Act. 3. 21. Rhuf. 8. 20. 2 Petr 3. 7, 10, 11. Dat. 20. 11. a 21. 1.
h pen. 10. 6, 14. a 31. 4. a 34. 21. Ps. 56. 8. a 139. 1, 2, 3. Diar. 5. 21. Jer. 32. 19.
i Deut. 32. 34. Hos. 13. 12.
3 Heb. *llifeirio dros y pethau.*
k Preg. 9. 5. Es. 63. 16.

## PENNOD XV.

1 *Eliphaz yn ceryddu Job am ei annuwioldeb yn ei gyfiawnhâu ei hun;* 17 *ac yn profi o bennau yr hen bobl, mor anesmwyth yw yr annuwiol.*

YNA Eliphaz y Temaniad a at-
tebodd ac a ddywedodd,
2 A adrodd *gwr* doeth wybodaeth
o wynt? ac a leinw efe ei fol â'r
dwyrein-wynt?
3 A ymresymma efe â gair ni
fuddia? neu âg ymadroddion *y rhai*
ni wna efe lesâd â hwynt?
4 Yn ddïau ti a [2]dorraist ymaith
ofn: yr ydwyt yn attal [3]gweddi ger
bron DUW.
5 Canys dy enau [4]a draetha dy an-
wiredd; ac yr wyt yn dewis tafod
y cyfrwys.
6 Dy enau di sydd yn dy fwrw yn
euog, ac nid myfi: a'th wefusau
sydd yn tystiolaethu yn dy erbyn.
7 A aned tydi yn gyntaf dyn? a
[a]lunied tydi o flaen y bryniau?
8 [b]A glywaist ti gyfrinach DUW?
ac a atteli di ddoethineb gyd â thi
dy hun?
9 Beth a wyddost ti a'r nas gwydd-
om ni? *beth* a ddealli di, heb fod
hynny hefyd gennym ninnau?
10 [c]*Y mae* yn ein mysg ni y pen-
llwyd, a'r oedrannus hefyd; hŷn o
oedran na'th dad di.
11 Ai bychan gennyt ti ddiddan-
wch DUW? a oes dim dirgel gyd â
thi?
12 Pa beth sydd yn dwyn dy fedd-
wl oddi arnat? ac ar ba beth yr
amneidia dy lygaid,
13 Gan i ti droi dy feddwl yn
erbyn DUW, a gollwng y *fath* eiriau
allan o'th enau?
14 [d]Pa beth *yw* dyn, i fod yn lân?
a'r hwn a aned o wraig, i fod yn
gyfiawn?
15 [e]Wele, ni roddes efe ymddiried
yn ei saint; a'r nefoedd nid ydynt
lân yn ei olwg ef.
16 [f]Pa faint mwy ffiaidd a drew-
edig *ydyw* dyn, [g]yr hwn sydd yn
yfed anwiredd fel dwfr?
17 Dangosaf i ti, gwrando arnaf;
a'r hyn a welais a fynegaf.
18 Yr hyn a fynegodd gwŷr doeth-
ion [h]oddi wrth eu tadau, ac nis cel-
asant:
19 I'r rhai yn unig y rhoddwyd y
ddaear: ac ni ddaeth alltud yn eu
plith hwy.
20 Holl ddyddiau yr annuwiol y
bydd efe yn ymofidio: a rhifedi y
blynyddoedd a guddiwyd oddi wrth
y traws.
21 Trwst [5]ofnadwy *sydd* yn ei
glustiau ef: [i]mewn heddwch y daw
y dinystrydd arno.

Cyn CRIST Cylch 1520.
2 Heb. *ddiddymmaist.*
3 Neu, *ymadrodd.*
4 Heb. *sydd yn dysgu.*
a Ps. 90. 2. Diar. 8. 25.
b Rhuf. 11. 34.
c pen. 32. 6, 7.
d 1 Bren. 8. 46. 2 Chron. 6. 36. pen. 14. 4. Ps. 14. 3. Diar. 20. 9. Preg. 7. 20. 1 Ioan 1. 8, 10.
e pen. 4. 18. a 25. 5.
f Ps. 14. 3. a 53. 3.
g pen. 34. 7. Diar. 19. 28.
h pen. 8. 8.
5 Heb. *dychryniadau.*
i 1 Thess. 5. 3.

Cyn CRIST Cylch 1520.

22 Ni chred efe y dychwel allan o
dywyllwch: ac y mae y cleddyf yn
gwylied arno.
23 Y mae efe [k]yn crwydro am fara,
pa le *y byddo:* efe a ŵyr fod [l]dydd
tywyllwch yn barod wrth ei law.
24 Cystudd a chyfyngdra a'i braw-
ycha ef; *hwy* a'i gorchfygant, fel
brenhin parod i ryfel.
25 Canys efe a estynodd ei law yn
erbyn DUW; ac yn erbyn yr Holl-
alluog yr ymnerthodd.
26 Efe a red yn y gwddf iddo ef,
trwy dewdwr torrau ei dariannau:
27 Canys efe a dôdd ei wyneb â'i
frasder: ac a wnaeth dyrch *o floneg*
ar ei denewynau.
28 A thrigo y mae mewn dinas-
oedd wedi eu dinystrio, *a* thai ang-
hyfannedd, y rhai sydd barod *i fod*
yn garneddau.
29 Ni chyfoethoga efe, ni phery
ei olud ef chwaith; ac nid estyn
efe eu perffeithrwydd hwy ar y
ddaear.
30 Nid ymedy efe allan o dywyll-
wch, y fflam a wywa ei frig ef; ac
efe a ymedy [m]trwy anadl ei enau ef.
31 *Yr hwn* a dwylled, nac ym-
ddirieded mewn oferedd: canys of-
eredd fydd ei wobr ef.
32 Efe a dorrir ymaith [n]cyn ei
ddydd; a'i gangen ni lasa.
33 Efe a ddihidla ei rawn anadd-
fed fel gwinwydden; ac a fwrw ei
flodeuyn fel olew-wydden.
34 Canys cynnulleidfa rhagrithwyr
*fydd* unig: a thân a ysa luestai
gwobrwyr.
35 [o]Y maent yn ymddŵyn blinder,
ac yn esgor ar [6]wagedd; a'u bol
sydd yn darpar twyll.

## PENNOD XVI.

*1 Job yn beio ar ei gyfeillion, eu hannhrugarowgrwydd; 7 yn dangos mor dostur yw ei gyflwr, 17 ac yn amddiffyn ei ddiniweidrwydd.*

A JOB a attebodd ac a ddy-
wedodd,
2 Clywais lawer o'r fath hyn: [a]cys-
urwyr [2]gofidus *ydych* chwi oll.
3 Oni *cheir* diwedd ar eiriau [3]ofer?
neu pa beth sydd yn dy gryfhâu di
i atteb?
4 Mi a fedrwn ddywedyd fel
chwithau: pe byddai eich enaid
chwi yn lle fy enaid i, medrwn ben-
tyrru geiriau i'ch erbyn, ac [b]ysgwyd
fy mhen arnoch.
5 Ond mi a'ch cryfhâwn chwi â'm
genau; a symmudiad fy ngwefusau
a esmwythâi *eich gofid.*

6 Os llefaraf fi, nid esmwythâ
fy nolur; ac *os* peidiaf, [4]ai llai fy
ngofid?
7 Ond yn awr efe a'm blinodd i;
anrheithiaist fy holl gynnulleidfa:
8 A chroen-grychaist fi, a hynny
sydd dystiolaeth: a'm culni yn codi
ynof, a dystiolaetha yn fy wyneb.
9 [c]Yn ei ddigllondeb *y'm* rhwyga
yr hwn a'm casâ: efe a ysgyrnyga
ddannedd arnaf; [d]fy ngwrthwyneb-
wr a flaenllymmodd ei lygaid yn fy
erbyn.
10 Hwy a ledasant eu safnau ar-
naf; [e]tarawsant fy nghernau yn ddir-
mygus; ymgasglasant ynghyd yn fy
erbyn.
11 DUW [f]a'm [5]rhoddes i'r anwir;
ac a'm trodd i ddwylaw yr annuw-
iolion.
12 Yr oeddwn yn esmwyth; ond
efe a'm drylliodd, ac a ymaflodd
yn fy ngwddf, ac a'm drylliodd yn
chwilfriw, ac [g]a'm cododd yn nôd
iddo ei hun.
13 Ei saethyddion ef sydd yn fy
amgylchu; y mae efe yn hollti fy
arennau, ac nid ydyw yn arbed;
y mae yn tywallt fy mustl ar y
ddaear.
14 Y mae yn fy rhwygo â rhwyg-
iad ar rwygiad: y mae efe yn rhed-
eg arnaf fel cawr.
15 Gwnïais sachlen ar fy nghroen,
a [h]halogais fy nghorn yn y llwch.
16 Fy wyneb sydd fudr gan wylo,
a chysgod marwolaeth *sydd* ar fy
amrantau:
17 Er nad *oes* gamwedd yn fy
nwylaw; a *bod* fy ngweddi yn bur.
18 O ddaearen, na orchuddia fy
ngwaed, ac [i]na fydded lle i'm
gwaedd.
19 Wele hefyd yn awr fy nhyst
yn y nefoedd; a'm tystiolaeth yn
yr uchelder.
20 Fy nghyfeillion [6]sydd yn fy
ngwawdio: fy llygad a ddiferodd
*ddagrau* wrth DDUW.
21 [k]*O na* chai un ymddadleu â
DUW dros ddyn, fel mab dyn dros
ei [7]gymmydog!
22 Canys *pan ddêl* [8]ychydig flyn-
yddoedd, yna mi a rodiaf lwybr *ar
hyd yr hwn* ni ddychwelaf.

## PENNOD XVII.

*1 Job yn appelio oddi wrth ddynion at Dduw. 6 Y gall annhrugaredd dynion wrth y cystuddiol, beri i'r duwiol synnu; ond nas gall beri iddynt ddigaloni. 11 Nad mewn bywyd, ond mewn marwolaeth, y mae ei obaith ef.*

k Ps. 59. 15. a 109. 10.
l pen. 18. 12.
m pen. 4. 9.
n pen. 22. 16. Ps. 55. 23.
o Ps. 7. 14. Es. 59. 4. Hos. 10. 13.
6 Neu, *gamwedd.*
a pen. 13. 4.
2 Neu, *trafferthus.*
3 Heb. *gwynt?*
b Ps. 22. 7. a 109. 25. Galar. 2. 15.

Cyn CRIST Cylch 1520.

4 Heb. *pa beth sydd yn myned oddi wrthyf?*
c pen. 10. 16, 17.
d pen. 13. 24.
e Galar. 3. 30. Mic. 5. 1.
f pen. 1. 15, 17.
5 Heb *hargaeodd.*
g pen. 7. 20.
h pen. 30. 19.
i pen. 27. 9. Ps. 66. 18, 19.
6 Heb. *yw fy ngwawdwyr.*
k pen. 31. 35. Preg. 6. 10. Es. 45. 9. Rhuf. 9. 20.
7 Neu, *gyfaill!*
8 Heb. *blynyddoedd rhif.*

Cyn CRIST Cylch 1520.

FY [2]anadl a lygrwyd, fy nyddiau a ddiffoddwyd, beddau *sydd barod* i mi.

2 Onid *oes* watwarwyr gyd â mi? ac onid yw fy llygad yn [3]aros yn eu chwerwedd hwynt?

3 Dyro i lawr yn awr, dyro i mi feichiau gyd â thi: pwy *ydyw* efe [a]a dery ei law yn fy llaw i?

4 Canys cuddiaist eu calon hwynt oddi wrth ddeall: am hynny ni ddyrchefi di *hwynt.*

5 Yr hwn a ddywed weniaith i'*w* gyfeillion, llygaid ei feibion ef a ballant.

6 Yn ddïau efe a'm gosododd [b]yn ddïareb i'r bobl, ac [4]o'r blaen yr oeddwn megis tympan iddynt.

7 Am hynny [c]y tywyllodd fy llygad gan ddigllonedd, ac *y mae* fy [5]aelodau oll fel cysgod.

8 Y rhai uniawn a synnant am hyn; a'r diniwed a ymgyfyd yn erbyn y rhagrithiwr.

9 Y cyfiawn hefyd a ddeil ei ffordd; a'r glân ei ddwylaw a chwanega gryfder.

10 Ond chwi oll, [d]dychwelwch, a deuwch yn awr: am na chaf fi *wr* doeth yn eich plith chwi.

11 [e]Fy nyddiau a aeth heibio, fy amcanion a dynned ymaith; *sef* [6]meddyliau fy nghalon.

12 Gwnant y nos yn ddydd: [7]byr *yw* y goleuni, o herwydd tywyllwch.

13 Os disgwyliaf, y bedd *sydd* dŷ i mi: mewn tywyllwch y cyweiriais fy ngwely.

14 Gelwais ar y pwll, Tydi *yw* fy nhad: ar y pryf, Fy mam a'm chwaer *wyt.*

15 A pha le yn awr *y mae* fy ngobaith? pwy hefyd a genfydd fy ngobaith?

16 Disgynant i farrau y pwll, pan *fyddo ein* [f]cyd-orphwysfa yn y llwch.

## PENNOD XVIII.

1 *Bildad yn beio ar Job, am ei ryfyg a'i anïoddefgarwch.* 5 *Trueni yr annuwiol.*

ABILDAD y Suhiad a attebodd ac a ddywedodd,

2 Pa *bryd* y derfydd eich ymadrodd? ystyriwch, wedi hynny ninnau a lefarwn.

3 Paham y cyfrifed nyni fel anifeiliaid? *ac* yr ydym yn wael yn eich golwg chwi?

4 O [a]yr hwn sydd yn rhwygo ei enaid yn ei ddigllondeb! ai er dy fwyn di y gadewir y ddaear? neu y symmudir y graig allan o'i lle?

[2] Neu, *yspryd a dreuliwyd.* [3] Heb. *llettya.* [a] Diar. 6. 1. a 17. 18. a 22. 26. [b] pen. 30. 9. [4] Neu, *o'u blaen* hwynt. [c] Ps. 6. 7. [5] Neu, *meddyliau.* [d] pen. 6. 29. [e] pen. 7. 6. a 9. 25. [6] Neu, *meddiannau.* [7] Heb. *cyfagos.* [f] pen. 3. 17, 18, 19. [a] pen. 13. 14.

5 Ië, goleuni yr annuwiolion a ddiffoddir, a gwreichionen ei dân ef ni lewyrcha.

6 [2]Goleuni a dywylla yn ei luesty ef; a'i lusern a ddiffydd gyd âg ef.

7 Camrau ei gryfder ef y gyfyngir, a'i gynghor ei hun a'i bwrw ef i lawr.

8 Canys [b]efe a deflir i'r rhwyd erbyn ei draed, ac ar faglau y rhodia efe.

9 Magl a ymeifl yn ei sawdl *ef,* [c]*a*'r gwilliad fydd trech nag ef.

10 Hoenyn a guddied iddo ef yn y ddaear, a magl iddo ar y llwybr.

11 [d]Braw a'i brawycha ef o amgylch, ac a'i [3]gyrr i *gymmeryd* ei draed.

12 Ei gryfder fydd newynllyd, a [e]dinystr *fydd* parod wrth ei ystlys.

13 Efe a ysa [4]gryfder ei groen ef: cyntaf-anedig angau a fwytty ei gryfder ef.

14 [f]Ei hyder ef a dynnir allan o'i luesty: a *hynny* a'i harwain ef at frenhin dychryniadau.

15 Efe a drig yn ei luest ef, am nad eiddo ef *ydyw:* brwmstan a wasgerir ar ei drigfa ef.

16 [g]Ei wraidd a sychant oddi tanodd, a'i frig a dorrir oddi arnodd.

17 [h]Ei goffadwriaeth a gollir o'r ddaear, ac ni bydd enw iddo ar wyneb yr heol.

18 [5]Efe a yrrir allan o oleuni i dywyllwch: efe a ymlidir allan o'r byd.

19 [i]Ni *bydd* iddo fab nac ŵyr ym mysg ei bobl; nac un wedi ei adael yn ei drigfannau ef.

20 Y rhai a ddêl ar *ei* ol, a synna arnynt o herwydd ei ddydd ef; a'r rhai o'r blaen a [6]gawsant fraw.

21 Yn wir, dyma drigleoedd yr anwir; a dyma le *y dyn* nid edwyn DDUW.

## PENNOD XIX.

1 *Job yn cwyno greuloned yw ei gyfeillion; ac yn dangos fod ynddo ef ddigon o drueni i borthi eu creulondeb hwy.* 21, 28 *Yn ymbil am dosturi,* 25 *ac yn credu yr adgyfodiad.*

AJOB a attebodd ac a ddywedodd,

2 Pa hyd y cystuddiwch fy enaid? ac y'm drylliwch â geiriau?

3 [a]Dengwaith bellach y'm gwarad-

Cyn CRIST Cylch 1520.

[2] Neu, *Canwyll.* [b] pen. 22. 10. [c] pen. 5. 5. [d] pen. 15. 21. Jer. 6. 25. a 20. 3. a 46. 5. a 49. 29. [3] Heb. *gwasgara.* [e] pen. 15. 23. [4] Heb. *farrau.* [f] pen. 8. 14. a 11. 20. Ps. 112. 10. Diar. 10. 28. [g] pen. 29. 19. Es. 5. 24. Amos 2. 9. Mal. 4. 1. [h] Ps. 109. 13. Diar. 2. 22. a 10. 7. [5] Heb. *Gyrrant ef allan.* [i] Es. 14. 22. Jer. 22. 30. [6] Heb. *ymaflasant mewn braw.* [a] Gen. 31. 7. Lef. 26. 26.

Cyn CRIST Cylch 1520.

wyddasoch; ac nid cywilydd gen-
nych ymgaledu i'm herbyn.
4 Hefyd pe *byddai* wir wneuthur
o honof fi yn amryfus; gyd â mi y
trig fy amryfusedd.
5 Yn wir os ymfawrygwch yn fy
erbyn, a dadleu fy ngwaradwydd
i'm herbyn:
6 Gwybyddwch yn awr mai DUW
a'm dymchwelodd i, ac a'm ham-
gylchodd â'i rwyd.
7 Wele, llefaf rhag trawsder, ond
ni'm hattebir: gwaeddaf, ond nid
*oes* farn.
8 [b]Efe a gauodd fy ffordd, fel nad
elwyf drosodd; y mae efe yn gosod
tywyllwch ar fy llwybrau.
9 Efe a ddïosgodd fy ngogoniant
oddi am danaf; ac a ddygodd ym-
aith goron fy mhen.
10 Y mae efe yn fy nistrywio oddi
amgylch, ac yr ydwyf yn myned
ymaith: ac efe a symmudodd fy
ngobaith fel pren.
11 Gwnaeth hefyd i'w ddigofaint
gynneu yn fy erbyn; ac [c]a'm cyfrif-
odd iddo fel *un o'i* elynion.
12 Ei dorfoedd sydd yn dyfod
ynghyd, ac [d]yn palmantu eu ffyrdd
yn fy erbyn, ac yn gwersyllu o am-
gylch fy mhabell.
13 [e]Efe a bellhaodd fy mrodyr
oddi wrthyf, a'r rhai oedd yn fy
adnabod hefyd a ymddïeithrasant
oddi wrthyf.
14 Fy nghyfnesaf a ballasant, a'r
rhai oedd o'm cydnabod a'm hang-
hofiasant.
15 Y rhai oedd yn trigo yn fy nhŷ,
a'm morwynion, sydd yn fy nghyfrif
yn ddïeithr: alltud ydwyf yn eu
golwg.
16 Gelwais ar fy ngwasanaethwr,
ac nid attebodd; ymbiliais âg ef
â'm genau.
17 Dïeithr oedd fy anadl i'm gwraig,
er ymbil o honof *â hi er mwyn* fy
mhlant o'm [2]corph.
18 [3]Plant hefyd a'm dïystyrent:
cyfodais, a dywedasant i'm her-
byn.
19 [f]Fy holl gyfrinachwyr sydd yn
fy ffieiddio: a'r rhai a gerais a droi-
sant yn fy erbyn.
20 [g]Fy esgyrn a lynodd wrth fy
nghroen, [4]ac wrth fy nghnawd; ac
â chroen fy nannedd y dïengais.
21 Trugarhêwch wrthyf, trugar-
hêwch wrthyf, fy nghyfeillion; can-
ys [h]llaw DUW a gyffyrddodd â mi.
22 Paham yr ydych chwi yn fy

[b] pen. 3. 23.
[c] pen. 13. 24. Galar. 2. 5.
[d] pen. 30. 12.
[e] Ps. 31. 11. a 38. 11. a 69. 8. a 88. 8, 18.
[2] Heb. *bol.*
[3] Neu, *Yr enwir.*
[f] Ps. 41. 9. a 55. 13, 14, 20.
[g] pen. 30. 30. Ps. 102. 5. Galar. 4. 8.
[4] Neu, *fel wrth,* &c.
[h] pen. 1. 11. Ps. 38. 2.

erlid i fel DUW, heb gael digon ar
fy nghnawd?
23 [5]O nad ysgrifenid fy ngeiriau
yn awr! O na argrephid hwynt
mewn llyfr!
24 O nad ysgrifenid hwynt yn y
graig dros byth â phin o haiarn ac
â phlwm!
25 Canys myfi a wn fod fy Mhryn-
wr yn fyw, ac y saif yn y diwedd
ar y ddaear.
26 Ac [6]*er* ar ol fy nghroen *i bryf-
ed* ddifetha y *corph* hwn, etto [i]caf
weled DUW yn fy nghnawd:
27 Yr hwn a gaf fi i mi fy hun
ei weled, a'm llygaid a'i gwelant,
ac nid [7]arall; *er* i'm harennau ddar-
fod [8]ynof.
28 Eithr chwi a ddylech ddy-
wedyd, Paham yr erlidiwn ef? [9]canys
gwreiddyn y matter a gaed ynof.
29 Ofnwch am danoch rhag y
cleddyf: canys *y mae* digofaint *yn
dwyn* cospedigaethau y cleddyf, fel
y gwybyddoch *fod* barn.

## PENNOD XX.

*Sophar yn dangos cyflwr a rhan yr annuwiol.*

YNA Sophar y Naamathiad a
attebodd ac a ddywedodd,
2 Am hynny y mae fy meddyliau
yn peri i mi atteb: ac am *hyn* y
mae brys [2]arnaf.
3 Yr ydwyf yn clywed cerydd
gwaradwyddus i mi; ac y mae ys-
pryd fy neall yn peri i mi atteb.
4 Oni wyddost ti hyn erioed, er
pan osodwyd dyn ar y ddaear,
5 [a]Mai [3]byr *yw* gorfoledd yr an-
nuwiolion, a llawenydd y rhagrith-
wyr dros funud awr?
6 [b]Pe dyrchafai ei odidowgrwydd
ef i'r nefoedd, a chyrhaeddyd o'i
ben ef hyd y [4]cymmylau;
7 Efe a gollir yn dragywydd fel
ei dom: y rhai a'i gwelsant a ddy-
wedant, Pa le *y mae* efe?
8 Efe a eheda ymaith [c]megis
breuddwyd, ac ni cheir ef: ac efe
a ymlidir fel gweledigaeth nos.
9 [d]Y llygad *a'i* gwelodd, ni *wêl
ef* mwy: a'i le ni chenfydd mwy o
hono.
10 [5]Ei feibion a gais foddloni y
tlodion: a'i ddwylaw [e]a roddant
adref eu golud hwynt.
11 Ei esgyrn sydd yn llawn *o
[f]bechod* ei ieuengctid, yr hwn a
orwedd gyd âg ef yn y pridd.
12 Er bod drygioni yn felus yn
ei enau ef; *er* iddo ei gau dan ei
dafod;

Cyn CRIST Cylch 1520.

[5] Heb. *Pwy a ddyry ysgrifenu fy,* &c.
[6] Neu, *wedi i mi ddeffro, er dinystrio* y corph *hwn, etto o'm cnawd y gwelaf Dduw.*
[i] Ps. 17. 15. 1 Cor. 13. 12. 1 Ioan 3. 2.
[7] Heb. *dïeithr.*
[8] Heb. *yn fy mynwes.*
[9] Neu, *pa wreiddyn matter a gaed,* &c.
[2] Heb. *ynof.*
[a] Ps. 37. 35, 36.
[3] Heb. *o agos.*
[b] Es. 14. 13, 14. Obad. 3, 4.
[4] Heb. *wybren.*
[c] Ps. 73. 20. a 90. 5.
[d] pen. 7. 8, 10. a 8. 18. Ps. 37. 36. a 103. 16.
[5] Neu, *Y tlodion a orthrymma ei blant.*
[e] ad. 18.
[f] pen. 13. 26. Ps. 25. 7.

Cyn CRIST Cylch 1520.

13 *Er* iddo ei arbed, ac heb ei
adaw; eithr ei attal o fewn taflod
ei enau:
14 Ei fwyd a dry yn ei ymysgar-
oedd: bustl aspiaid *ydyw* o'i fewn ef.
15 Efe a lyngcodd gyfoeth, ac efe
a'i chwyda: DUW a'i tyn allan o'i
fol ef.
16 Efe a sugn wenwyn aspiaid:
tafod gwiber a'i lladd ef.
17 Ni chaiff weled [g]afonydd, ffryd-
iau, *ac* aberoedd o fêl ac ymenyn.
18 Y mae efe [h]yn rhoddi adref
yr hyn a lafuriodd am dano, ac nis
llwngc: [6]yn ol *ei* olud y rhydd adref,
ac heb gael llawenydd *o hono.*
19 Am iddo ddryllio, *a* gadaw y
tlodion; ysglyfaethu tŷ nid adeil-
adodd;
20 [i]Dïau na [7]chaiff lonydd yn
ei fol, na weddill o'r hyn a ddy-
munodd.
21 Ni *bydd* gweddill [8]o'i fwyd ef;
am hynny ni ddisgwyl neb am ei
ddâ ef.
22 Pan gyflawner ei ddigonoldeb,
cyfyng *fydd* arno; llaw pob *dyn*
blin a ddaw arno.
23 *Pan* fyddo efe ar fedr llenwi
ei fol, DUW a ddenfyn arno ang-
erdd ei ddigofaint; ac a'*i* gwlawia
*hi* arno ef ym mysg ei fwyd.
24 [k]Efe a ffy oddi wrth arfau
haiarn; *a*'r bwa dur a'i trywana ef.
25 Efe a dynnir, ac a ddaw allan
o'r corph, a [l]gloyw-lafn a ddaw allan
o'i fustl ef; [m]dychryn *fydd* arno.
26 Pob tywyllwch *a fydd* cudd-
iedig yn ei ddirgeloedd ef: tân heb
ei chwythu a'i hysa ef: yr hyn a
adawer yn ei luestai ef, a ddrygir.
27 Y nefoedd a ddatguddiant ei
anwiredd ef, a'r ddaear a gyfyd yn
ei erbyn ef.
28 Cynnydd ei dŷ ef a gilia: *ei
ddâ* a lifa ymaith yn nydd ei ddig-
ofaint ef.
29 [n]Dyma ran dyn annuwiol gan
DDUW; [9]a'r etifeddiaeth a osodwyd
iddo gan DDUW.

g Ps. 36. 9.
h ad. 10.
6 Heb. *yn ol golud ei gyfnewid.*
i Preg. 5. 13, 14.
7 Heb. *wybydd.*
8 Neu, *i'w fwyd ef.*
k Es. 24. 18. Jer. 48. 43. Amos 5. 19.
l pen. 16. 13.
m pen. 18. 11.
n pen. 27. 13. a 31. 2.
9 Heb. *ac etifeddiaeth ei ordinhâd ef gan Dduw.*

## PENNOD XXI.

1 *Job yn dangos fod iddo achos i ofidio, ïe, ym marn dyn.* 7 *Bod yr annuwiol weithiau yn gymmaint eu llwyddiant, ag y pair iddynt ddïystyru Duw:* 16 *a bod eu dinystr hwy weithiau yn eglur.* 23 *Nad oes ragor rhwng y llwyddiannus a'r truenus yn angau:* 30 *ac mai mewn byd arall y mae barnedigaeth yr annuwiol.*

A JOB a attebodd ac a ddy-
wedodd,
2 Gan wrandaw gwrandêwch fy
ymadrodd; a bydded hyn *yn lle*
eich cysur.
3 Dïoddefwch fi, a minnau a lef-
araf; ac wedi i mi ddywedyd, [a]gwat-
warwch.
4 A minnau, *ydwyf* fi *yn gwneuth-
ur* fy nghŵyn wrth ddyn? ac os
*ydwyf,* paham [2]na byddai gyfyng
ar fy yspryd?
5 Edrychwch arnaf, a synnwch; a
[b]gosodwch *eich* llaw ar *eich* genau.
6 Minnau pan gofiwyf, a ofnaf; a
dychryn a ymeifl yn fy nghnawd.
7 [c]Paham y mae yr annuwiolion
yn byw, yn heneiddio, ac yn cryf-
hâu *mewn* cyfoeth?
8 Eu had hwy *sydd* safadwy o'u
blaen gyd â hwynt, a'u hiliogaeth
yn eu golwg.
9 Eu tai *sydd mewn* heddwch
allan o ofn; ac nid *ydyw* gwïalen
DUW arnynt hwy.
10 Y mae eu tarw hwynt yn cyf-
lôi, ac ni chyll ei had; ei fuwch
ef a fwrw lo, ac nid erthyla.
11 Danfonant allan eu rhai bych-
ain fel dïadell, a'u bechgyn a neid-
iant.
12 Cymmerant dympan a thelyn,
a llawenychant wrth lais yr organ.
13 [d]Treuliant eu dyddiau mewn
daioni, ac mewn moment y disgyn-
ant i'r bedd.
14 [e]Dywedant hefyd wrth DDUW,
Cilia oddi wrthym; canys nid ydym
yn chwennych gwybod dy ffyrdd.
15 [f]Pa beth *ydyw* yr Hollalluog,
fel y gwasanaethem ef? a pha fudd
fydd i ni os gweddïwn arno?
16 Wele, nid *ydyw* eu daioni hwy
yn eu llaw eu hun: [g]pell yw cyng-
hor yr annuwiol oddi wrthyf fi.
17 Pa sawl gwaith y diffydd [3]can-
wyll yr annuwiolion? ac y daw eu
dinystr arnynt hwy? *Duw* a ran
ofidiau yn ei ddig.
18 [h]Y maent hwy fel sofl o flaen
gwynt, ac fel mân us yr hwn a
[4]gipia y corwynt.
19 DUW a guddia ei anwiredd ef
[i]i'w feibion: efe a dâl iddo, ac efe
a'*i* gwybydd.
20 Ei lygaid a welant ei ddinystr
ef; ac [k]efe a ŷf o ddigofaint yr
Hollalluog.
21 Canys pa wŷnfyd *sydd ganddo*
ef yn ei dŷ ar ei ol, pan hannerer
rhifedi ei fisoedd ef?
22 [l]A ddysg *neb* wybodaeth i
DDUW? gan ei fod yn barnu y rhai
uchel.

Cyn CRIST Cylch 1520.

a pen. 16. 10. a 17. 2.
2 Heb. *na fyrhêid fy yspryd?*
b pen. 29. 9. a 40. 4. Ps. 39. 9.
c pen. 12. 6. Ps. 17. 10. a 73. 3, 12. Jer. 12. 1. Hab. 1. 16.
d pen. 36. 11.
e pen. 22. 17.
f Exod. 5. 2. pen. 34. 9. a 35. 3. Mal. 3. 14.
g pen. 22. 18.
3 Neu, *lamp.*
h Ps. 1. 4. a 35. 5. Es. 29. 5. Hos. 13. 3.
4 Heb. *ladratta.*
i Exod. 20. 5.
k Ps. 75. 8. Jer. 25. 15. Dat. 14. 10. a 19. 15.
l Es. 40. 13. a 45. 9. Rhuf. 11. 34. 1 Cor. 2. 16.

Cyn CRIST Cylch 1520.

23 Y naill sydd yn marw yn [5]ei gyflawn nerth, *ac efe* yn esmwyth ac yn heddychol yn gwbl.

24 Ei [6]fronnau ef sydd yn llawn llaeth, a'i esgyrn yn iraidd gan fêr.

25 A'r llall *sydd* yn marw mewn chwerwder enaid, ac ni fwyttaodd mewn hyfrydwch.

26 Hwy a orweddant ynghyd yn y pridd, a'r pryfed a'u gorchuddia hwynt.

27 Wele, mi a adwaen eich meddyliau, a'r bwriadau yr ydych chwi yn eu dychymmygu ar gam yn fy erbyn.

28 Canys dywedwch, Pa le *y mae* tŷ y pendefig? a pha le *y mae* lluesty anneddau yr annuwiolion?

29 Oni ofynasoch chwi i'r rhai oedd yn myned heibio ar hyd y ffordd? ac onid adwaenoch chwi eu harwyddion hwy,

30 [m]Mai hyd ddydd dinystr yr arbedir y drygionus? yn nydd [7]cynddaredd y dygir hwynt allan.

31 Pwy a fynega ei ffordd ef yn ei wyneb ef? a phwy a dâl iddo fel y gwnaeth?

32 Etto efe a ddygir i'r [8]bedd, ac a [9]erys yn y pentwr.

33 Y mae priddellau y dyffryn yn felus iddo, a phob dyn a dŷn ar ei ol ef, megis *yr aeth* aneirif o'i flaen ef.

34 Pa fodd gan hynny y cysurwch fi âg oferedd, gan fod camwedd yn eich attebion chwi?

5 Neu, *nerth ei berffeithrwydd.*
6 Neu, *gelyrnau.*
m Diar. 16. 4.
7 Heb. *cynddareddau.*
8 Heb. *beddau.*
9 Heb. *wylia.*

## PENNOD XXII.

1 *Eliphaz yn dangos nad yw daioni dyn yn gwneuthur dim llês i Dduw: 5 yn cyhuddo Job o amryw bechodau: 21 yn ei gynghori ef i edifarhâu, trwy addewidion o drugaredd.*

YNA Eliphaz y Temaniad a attebodd ac a ddywedodd,

2 [a]A wna gwr lesâd i Dduw, fel y gwna y synhwyrol lesâd iddo ei hun?

3 Ai digrifwch *ydyw* i'r Hollalluog dy fod di yn gyfiawn? neu *ai* elw dy fod yn perffeithio dy ffyrdd?

4 Ai rhag dy ofn y cerydda efe dydi? *neu* yr â efe gyd â thi i farn?

5 Onid *ydyw* dy ddrygioni di yn aml? a'th anwireddau heb derfyn?

6 Canys [b]cymmeraist wystl gan dy frawd yn ddïachos; a dïosgaist ddillad y rhai noethion.

7 Ni roddaist ddwfr i'w yfed i'r lluddedig; a thi a atteliaist fara oddi wrth y newynog.

8 Ond y gwr [2]cadarn, efe bïoedd y ddaear; a'r [3]anrhydeddus a drigai ynddi.

a pen. 35. 7. Ps. 16. 2. Luc 17. 10.
b Exod. 22. 26, 27. Deut. 24. 10, &c.
2 Heb. *braich.*

9 Danfonaist ymaith wragedd gweddwon yn waglaw; a breichiau y rhai amddifaid a dorrwyd.

10 Am hynny *y mae* [c]maglau o'th amgylch, ac ofn disymmwth yn dy ddychrynu di;

11 Neu dywyllwch, *rhag* gweled o honot: a llawer o ddyfroedd a'th orchuddiant.

12 Onid *ydyw* Duw yn uchelder y nefoedd? gwel hefyd [4]uchder y sêr, mor uchel ydynt.

13 A thi a ddywedi, [d]Pa [5]fodd y gŵyr Duw? a farn efe trwy y cwmmwl tywyll?

14 Y tew gymmylau *sydd* loches iddo, ac ni wêl; ac y mae efe yn rhodio ar gylch y nefoedd.

15 A ystyriaist di yr hen ffordd a sathrodd y gwŷr enwir?

16 Y rhai [e]a dorrwyd pan nid *oedd* amser; afon a dywalltwyd ar eu sylfaen hwy.

17 [f]Hwy a ddywedasant wrth Dduw, Cilia oddi wrthym: a pha beth a wna yr Hollalluog iddynt hwy?

18 Etto efe a lanwasai eu tai hwy o ddaioni: ond [g]pell yw cynghor yr annuwiolion oddi wrthyf fi.

19 [h]Y rhai cyfiawn a welant, ac a lawenychant: a'r diniwed a'u gwatwar hwynt.

20 Gan na thorred ymaith ein sylwedd ni, eithr y tân a ysodd eu [6]gweddill hwy.

21 Ymarfer, *attolwg*, âg ef, a [i]bydd heddychlawn: o hyn y daw i ti ddaioni.

22 Cymmer y gyfraith, attolwg, o'i enau ef, a gosod ei eiriau ef yn dy galon.

23 [k]Os dychweli at yr Hollalluog, ti a adeiledir, symmudi anwiredd ym mhell oddi wrth dy luestai.

24 [l]Rhoddi aur i gadw [7]fel pridd, ac *aur* Ophir fel cerrig yr afonydd.

25 A'r Hollalluog fydd yn [8]amddiffyn i ti, a thi a gei [9]amldra o arian.

26 Canys yna yr ymhoffi yn yr Hollalluog, ac [m]a ddyrchefi dy wyneb at Dduw.

27 [n]Ti a weddii arno ef, ac efe a'th wrendy; a thi a deli dy addunedau.

28 *Pan* ragluniech di beth, efe a sicrhêir i ti; a'r goleuni a lewyrcha ar dy ffyrdd.

Cyn CRIST Cylch 1520.

3 Heb. *uchel*, neu, *gymmeradwy ei wyneb.*
c pen. 18. 8, 9, 10. a 19. 6.
4 Heb. *ben.*
d Ps. 10. 11. a 59. 7. a 73. 11. a 94. 7.
5 Neu, *beth a ŵyr Duw?*
e pen. 15. 32. Ps. 55. 23. a 102. 24. Preg. 7. 17.
f pen. 21. 14.
g pen. 21. 16.
h Ps. 107. 42.
6 Neu, *godidowgrwydd.*
i Es. 27. 5.
k pen. 8. 5, 6. a 11. 13.
l 2 Chron. 1. 15.
7 Neu, *ar y pridd.*
8 Neu, *aur.*
9 Heb. *arian cryfder.*
m pen. 11. 15.
n Ps. 50. 14, 15.

Cyn CRIST Cylch 1520.

29 Pan ostynger *hwynt*, yna y dywedi di, *Y mae* goruchafiaeth; ac [o]efe a achub y gostyngedig *ei olwg.*
30 [2]Efe a wareda ynys y diniwed: a thrwy lendid dy ddwylaw y gwaredir hi.

## PENNOD XXIII.

1 *Job yn hiraethu am fyned ger bron Duw,* 6 *o hyder ar ei drugaredd ef.* 8 *Y mae Duw, er ei fod yn anweledig, yn dal ar ein ffyrdd ni.* 11 *Gwirionded Job.* 13 *Bod barn Duw yn anghyfnewidiol.*

A JOB a attebodd ac a ddywedodd,
2 *Y mae* fy ymadrodd heddyw yn chwerw: fy [2]nïaledd sydd drymmach na'm huchenaid.
3 [a]O na wyddwn pa le y cawn ef! *fel* y deuwn at ei eisteddfa ef!
4 Trefnwn *fy* matter ger ei fron ef, a llanwn fy ngenau â rhesymmau.
5 Mynnwn wybod *â pha* eiriau y'm hattebai; a deall pa beth a ddywedai efe wrthyf.
6 [b]A ddadleu efe i'm herbyn â helaethrwydd *ei* gadernid? Na *wna;* ond efe a osodai *nerth* ynof.
7 Yno yr uniawn a ymresymmai âg ef: felly mi a ddïangwn byth gan fy marnwr.
8 [c]Wele, ym mlaen yr âf, ond nid *ydyw* efe *yno;* yn ol hefyd, ond ni fedraf ei ganfod ef:
9 Ar y llaw aswy, lle y mae efe yn gweithio, ond ni fedraf *ei* weled *ef:* ar y llaw ddehau y mae yn ymguddio, fel na chaf *ei* weled:
10 Ond efe a edwyn [3]fy ffordd i: [d]wedi iddo fy mhrofi, myfi a ddeuaf allan fel aur.
11 Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni ŵyrais.
12 Nid ydwyf chwaith yn cilio oddi wrth orchymyn ei wefusau ef: [4]hoffais eiriau ei enau ef yn fwy na'm [5]*hymborth* angenrheidiol.
13 Ond *y mae* efe yn un, a [e]phwy a'i try ef? [f]a'*r hyn* y mae ei enaid ef yn ei chwennychu, efe a'*i* gwna.
14 Canys efe a gyflawna yr *hyn* a osodwyd i mi: ac *y mae* ganddo lawer o'r fath bethau.
15 Am hynny y dychrynais rhag ei ofn ef: ystyriais, ac ofnais ef.
16 Canys DUW [g]a feddalhaodd fy nghalon, a'r Hollalluog a'm cythryblodd:
17 O herwydd na thorrwyd fi ymaith o flaen y tywyllwch, *ac na* chuddiodd efe y tywyllwch o'm gŵydd.

o Diar. 29. 23. Iago 4. 6. 1 Petr 5. 5.
2 Neu, *Y diniweid a wareda yr ynys.*
2 Heb. *llaw.*
a pen. 13. 3. a 16. 21.
b Es. 27. 4, 8.
c pen. 9. 11.
3 Heb. *y ffordd sydd gennyf.*
d Ps. 17. 3. a 66. 10.
4 Heb. *cuddiais.*
5 Neu, rhan *osodedig.*
e pen. 9. 12, 13. a 12. 14.
f Ps. 115. 3.
g Ps. 22. 14.

## PENNOD XXIV.

1 *Bod anwiredd yn fynych yn dïangc rhag ei gospi;* 17 *a bod barn ddirgel i'r annuwiol.*

PAHAM, gan [a]na chuddiwyd yr amseroedd rhag yr Hollalluog, na welai y rhai sydd yn ei adnabod ef, ei ddyddiau ef?
2 Y mae *rhai* yn symmudo [b]terfynau; yn ysglyfaethu defaid, ac yn [2]ymborthi *arnynt.*
3 Y maent yn gyrru asynod yr amddifad ymaith: maent [c]yn cymmeryd ŷch y wraig weddw ar wystl.
4 Maent yn troi yr anghenog allan o'r ffordd: [d]tlodion y ddaear a ymgyd-lechant.
5 Wele, y maent *fel* asynod gwylltion yn yr anialwch, yn myned allan i'w gwaith, gan geisio ysglyfaeth yn fore: y diffaethwch *sydd yn dwyn* iddynt fwyd, *ac i'w* plant.
6 Medant eu [3]hŷd yn y maes; [4]a gwinllan yr annuwiol a gasglant.
7 Gwnant *i'r* tlawd lettŷa yn noeth heb ddillad, ac heb wisg mewn oerni.
8 Gwlychant gan lifeiriant y mynyddoedd; ac o eisieu diddosrwydd [e]y cofleidiant graig.
9 Tynnant yr amddifad oddi wrth y fron: cymmerant wystl gan y tlawd.
10 Gwnant *iddo* fyned yn noeth heb ddillad; a dygant ddyrneidiau *lloffa* y rhai newynog.
11 *Y rhai* sydd yn gwneuthur olew o fewn eu parwydydd hwynt, *ac* sydd yn sathru *eu* cafnau gwin, ydynt sychedig.
12 Y mae gwŷr yn griddfan o'r ddinas, ac y mae eneidiau y rhai archolledig yn gweiddi; ac nid yw Duw yn rhoi ffolineb *yn eu herbyn.*
13 Y rhai hynny sydd ym mhlith y rhai sydd yn gwrthwynebu goleuni; nid ydynt yn adnabod ei ffyrdd, nac yn aros yn ei lwybrau.
14 [f]Gyd â'r goleuad y cyfyd y lleiddiad, ac y lladd efe y tlawd a'r anghenog; a'r nos y bydd *efe* fel lleidr.
15 [g]A llygad y godinebwr sydd yn gwylied am y cyfnos, [h]gan ddywedyd, Ni chaiff llygad fy ngweled; ac efe a esyd hûg ar ei wyneb.
16 Yn y tywyll y maent yn cloddio trwy dai, *y rhai* a nodasant iddynt eu hunain liw dydd: [i]nid adwaenant hwy oleuni.

Cyn CRIST Cylch 1520.

a Act. 1. 7.
b Deut. 19. 14. a 27. 17. Diar. 22. 28. a 23. 10.
2 Neu, eu *porthi hwynt.*
c pen. 22. 6. Deut. 24. 6, 10, 12, 17.
d Diar. 28. 28.
3 Heb. *cymmysg-ŷd.*
4 Heb. *a'r annuwiol a gasglant y winllan.*
e Galar. 4. 5.
f Ps. 10. 8.
g Diar. 7. 9.
h Ps. 10. 11.
i Ioan 3. 20.

Cyn CRIST Cylch 1520.

17 Canys megis cysgod marwol-
aeth *ydyw* y bore iddynt hwy: dy-
chryn cysgod marwolaeth *yw*, os
edwyn neb *hwynt.*
18 Ysgafn *ydyw* ar wyneb y dyfr-
oedd; melldigedig ydyw eu rhandir
hwy ar y ddaear: ni thry efe ei
wyneb *at* ffordd y gwinllannoedd.
19 Sychder a gwres sydd yn cipio
dyfroedd eira: *felly* y bedd *y rhai*
a bechasant.
20 Y groth a'i gollwng ef dros gôf,
melus fydd gan y pryf ef; ni chofir
ef mwy: ac anwiredd a dorrir fel
pren.
21 Y mae efe yn dryllio yr am-
mhlantadwy, *yr hon* ni phlanta;
ac nid ydyw yn gwneuthur daioni
i'r weddw.
22 Ac y mae efe yn tynnu y rhai
cedyrn wrth ei nerth: y mae efe
yn codi, ac [5] nid oes *neb* dïogel o'i
einioes.
23 Er rhoddi iddo fod mewn dï-
ogelwch, ar yr hyn y mae ei bwys;
etto *y mae* ei lygaid ef ar eu ffyrdd
hwy.
24 Hwynt-hwy a ddyrchafwyd dros
ychydig, ond hwy [6] a ddarfuant, ac a
ostyngwyd; hwy a [7] ddygpwyd ym-
aith fel pawb *eraill*, ac a dorrwyd
ymaith fel pen tywysen.
25 Ac onid *ydyw felly* yn awr,
pwy a'm gwna i yn gelwyddog, ac
a esyd fy ymadrodd yn ddiddym?

[5] Neu, *nid ymddiried i'w einioes ei hun.*
[6] Heb. *nid ydynt.*
[7] Heb. *gauwyd arnynt.*

## PENNOD XXV.

*Bildad yn dangos na all neb fod yn gyfiawn ger bron Duw.*

YNA Bildad y Suhiad a atteb-
odd ac a ddywedodd,
2 Arglwyddiaeth ac ofn *sydd* gyd
âg ef: y mae efe yn gwneuthur
heddwch yn ei uchel-fannau.
3 A oes gyfrif o'i luoedd ef? ac ar
bwy ni chyfyd ei oleuni?
4 [a] Pa fodd y cyfiawnhêir dyn gyd
â DUW? neu pa fodd y bydd yr
hwn a aned o wraig yn lân?
5 Wele, hyd yn nod y lleuad, ac
ni lewyrchâ hi; a'r sêr nid ydynt
bur yn ei olwg ef:
6 Pa faint llai dyn, *yr hwn sydd*
[b] bryf; a mab dyn, *yr hwn sydd*
abwydyn?

[a] pen. 4. 17, &c. a 15. 14, &c. Ps. 130. 3. a 143. 2.
[b] Ps. 22. 6.

## PENNOD XXVI.

1 *Job yn ceryddu annhrugarog ysbryd Bildad;* 5 *ac yn cydnabod fod gallu Duw yn anfeidrol, ac yn anchwiliadwy.*

A JOB a attebodd ac a ddy-
wedodd,
2 Pwy a gynnorthwyaist ti? ai y
dinerth? a achubaist ti y braich
*sydd* heb gadernid?
3 Pa fodd y cynghoraist ti yr an-
noeth? ac y mynegaist yn helaeth
y peth fel y mae?
4 Wrth bwy y mynegaist ymad-
roddion? ac yspryd pwy a ddaeth
allan o honot ti?
5 *Pethau* meirw a lunir oddi tan
y dyfroedd, [2] a'r rhai sydd yn trigo
ynddynt hwy.
6 [a] *Y mae* uffern yn noeth ger ei
fron ef: ac nid oes dô ar ddistryw.
7 [b] Y mae efe yn taenu y gogledd
ar y gwagle: y mae efe yn crogi y
ddaear ar ddiddym.
8 Y mae efe yn rhwymo y dyfroedd
yn ei gymmylau; ac nid ydyw y
cwmmwl yn hollti danynt hwy.
9 Y mae efe yn attal wyneb *ei*
orsedd-faingc: y mae efe yn taenu
ei gwmmwl arni hi.
10 [c] Efe a amgylchodd wyneb y
dyfroedd â therfynau, [3] nes dibennu
goleuni a thywyllwch.
11 Y mae colofnau y nefoedd yn
crynu, ac yn synnu wrth ei gerydd
ef.
12 [d] Efe a ranna y môr â'i nerth;
ac a dery falchder â'i ddoethineb.
13 [e] Efe a addurnodd y nefoedd â'i
Yspryd: ei law ef a luniodd y sarph
dorchog.
14 Wele, dyma rannau ei ffyrdd
ef: ond mor fychan *ydyw* y peth
yr ydym ni yn ei glywed am dano
ef! ond pwy a ddeall daranau ei
gadernid ef?

Cyn CRIST Cylch 1520.

[2] Neu, *gyd a'r rhai,* &c.
[a] Ps. 139. 8, 11. Diar. 15. 11. Heb. 4. 13.
[b] pen. 9. 8. Ps. 104. 2, &c.
[c] pen. 38. 8. Ps. 33. 7. a 104. 9. Diar. 8. 29. Jer. 5. 22.
[3] Heb. *hyd ddiwedd-iad goleuni gyd â thywyllwch.*
[d] Es. 51. 15. Jer. 31. 35.
[e] Ps. 33. 6.

## PENNOD XXVII.

1 *Job yn dangos ei burdeb,* 8 *ac nad oes gobaith i'r rhagrithiwr.* 11 *Y troir bendithion yr enwir yn felldithion.*

A JOB a [2] barablodd eilwaith, ac
a ddywedodd,
2 Y mae DUW yn fyw, [a] *yr hwn*
a ddug ymaith fy marn; a'r Holl-
alluog, *yr hwn* a [3] ofidiodd fy enaid;
3 Tra *fyddo* fy anadl ynof, ac ys-
pryd DUW yn fy ffroenau,
4 Ni ddywed fy ngwefusau an-
wiredd, ac ni thraetha fy nhafod
dwyll.
5 Na atto DUW i mi eich cyf-
iawnhâu chwi: oni threngwyf, [b] ni
symmudaf fy mherffeithrwydd oddi
wrthyf.
6 Yn fy nghyfiawnder y glynais,
ac nis gollyngaf hi: ni waradwydda
fy nghalon *fi* [4] tra fyddwyf byw.
7 Bydded fy ngelyn fel yr annuw-

[2] Heb. *ychwanegodd gymmeryd ei ddammeg.*
[a] pen. 34. 5.
[3] Heb. *chwerwodd.* Ruth 1. 20. 2 Bren. 4. 27.
[b] pen. 2. 9. a 13. 15.
[4] Heb. *er fy nyddiau.*

Cyn CRIST Cylch 1520.

iol; a'r hwn sydd yn codi yn fy
erbyn, fel yr anwir.
8 [c] Canys pa obaith *sydd* i'r rhag-
rithiwr, er elwa o hono ef, pan
dynno DUW ei enaid ef allan?
9 A [d] wrendy DUW ar ei lef, pan
ddelo cyfyngder arno?
10 A ymlawenycha efe yn yr Holl-
alluog? a eilw efe ar DDUW bob
amser?
11 Myfi a'ch dysgaf chwi trwy law
DUW: ni chelaf yr hyn *sydd* gyd
â'r Hollalluog.
12 Wele, chwychwi oll a'*i* gwel-
soch; a phaham yr ydych chwi felly
yn ofera *mewn* oferedd?
13 [e] Dyma ran dyn annuwiol gyd â
DUW; ac etifeddiaeth y rhai traws,
*yr hon* a gânt hwy gan yr Hollall-
uog.
14 [f] Os ei feibion ef a amlhêir, *hwy
a amlhêir* i'r cleddyf: a'i hiliogaeth
ef ni ddigonir â bara.
15 Ei weddillion ef a gleddir ym
marwolaeth: [g] a'i wragedd gweddw-
on ni wylant.
16 Er iddo bentyrru arian fel llwch,
a darparu dillad fel clai;
17 Efe a'*i* darpara, ond [h] y cyfiawn
a'*i* gwisg: a'r diniwed a gyfranna
yr arian.
18 Efe a adeiladodd ei dŷ fel gwyf-
yn, ac [i] fel bwth a wna gwyliwr.
19 Y cyfoethog a huna, ac nis cesglir
ef: efe a egyr ei lygaid, ac nid *yw*.
20 [k] Dychryniadau a'i goddiwedd-
ant ef fel dyfroedd: corwynt a'i
lladratta ef liw nos.
21 Y dwyrein-wynt a'i cymmer ef
i ffordd, ac efe a â ymaith; ac a'i
teifl ef fel corwynt allan o'i le.
22 Canys *DUW* a deifl arno ef, ac
nid arbed: gan ffoi, efe a fynnai ffoi
rhag ei law ef.
23 Curant eu dwylaw arno, ac a'i
hyssiant allan o'i le.

## PENNOD XXVIII.

1 *Bod gwybodaeth am bethau naturiol.* 12 *Ond mai godidog ddawn Duw yw doethineb.*

DIAU fod gwythen i'r arian; a
lle i'r aur, *lle* y coethant *ef.*
2 Haiarn a dynnir allan o'r pridd;
ac *o*'r garreg y toddir pres.
3 Efe sydd yn gosod terfyn ar
dywyllwch, ac yn chwilio allan bob
perffeithrwydd; *hyd yn nod* meini
tywyllwch a chysgod angau.
4 Y mae yr afon yn torri allan
oddi wrth y trigolion, *y dyfroedd*
a anghofiwyd gan y troed: hwy a

[c] Matt. 16. 26. Luc 12. 20.
[d] pen. 35. 12. Ps. 18. 41. a 109. 7. Diar. 1. 28. a 28. 9. Es. 1. 15. Jer. 14. 12. Ezec. 8. 18. Mic. 3. 4. Ioan 9. 31. Iago 4. 3.
[e] pen. 20. 29.
[f] Deut. 28. 41. Hos. 9. 13.
[g] Ps. 78. 64.
[h] Diar. 28. 8. Preg. 2. 26.
[i] Es. 1. 8. Galar. 2. 6.
[k] pen. 18. 11.

sychasant ac a aethant ymaith oddi
wrth ddynion.
5 Y ddaearen, o honi y daw bara:
tröwyd megis tân oddi tani.
6 Ei cherrig hi *a fyddant* le i
saphir; a [2] phriddellau aur sydd
iddi.
7 *Y mae* llwybr nid adnabu ader-
yn, ac ni chanfu llygad barcud:
8 Yr hwn ni sathrodd cenawon
llew; nid aeth hen lew trwyddo.
9 Y mae efe yn estyn ei law at y
gallestr: y mae efe yn dymchwelyd
mynyddoedd o'r gwraidd.
10 Y mae efe yn peri i afonydd
dorri trwy y creigiau; ac y mae ei
lygad ef yn gweled pob peth gwerth-
fawr.
11 Y mae efe yn rhwymo yr afon-
ydd rhag [3] llifo, ac yn dwyn *peth*
dirgel allan i oleuni.
12 [a] Ond pa le y ceir doethineb? a
pha le *y mae* trigle deall?
13 Ni ŵyr dyn beth a dâl hi; ac
ni cheir hi yn nhir y rhai byw.
14 [b] Y mae y dyfnder yn dywedyd,
Nid *ydyw* hi ynof fi: ac y mae y
môr yn dywedyd, Nid *ydyw hi* gyd
â myfi.
15 [c4] Ni cheir hi er aur pur; ac
ni ellir pwyso ei gwerth hi o arian.
16 Ni chyffelybir hi i'r aur o
Ophir; nac i'r onix gwerthfawr,
nac i'r saphir.
17 Nid aur a grisial a'i cystadla
hi: na llestr o aur [5] dilin *fydd* gyd-
werth iddi.
18 Ni chofir y [6] cwrel, na'r [7] gabis:
canys *gwell yw* caffaeliad doethineb
na gemmau.
19 Ni ellir cyffelybu y topaz o
Ethiopia iddi hi: ni chyd-brisir hi
âg aur pur.
20 [d] Gan hynny o ba le y daw doeth-
ineb? a pha le *y mae* mangre deall?
21 Canys hi a guddied oddi wrth
lygaid pob dyn byw; a hi a gudd-
iwyd oddi wrth ehediaid y nefoedd.
22 [e] Colledigaeth a marwolaeth
sydd yn dywedyd, Ni a glywsom
â'n clustiau sôn am dani hi.
23 DUW sydd yn deall ei ffordd
hi; ac efe a edwyn ei lle hi.
24 Canys y mae efe yn edrych ar
eithafoedd y ddaear, *ac* yn gweled
dan yr holl nefoedd;
25 [f] I wneuthur pwys i'r gwynt; ac
efe a bwysa y dyfroedd wrth fesur.
26 Pan wnaeth efe ddeddf i'r
gwlaw, a ffordd i fellt y taranau:
27 Yna efe a'i gwelodd hi, ac a'i

Cyn CRIST Cylch 1520.

[2] Neu, *mwn aur.*
[3] Heb. *wylo.*
[a] ad. 20. Preg. 7. 24.
[b] ad. 22. Rhuf. 11. 33, 34.
[c] Diar. 3. 13, 14. a 8. 11, 19. a 16. 16.
[4] Heb. *Ni roir aur pur am dani.*
[5] Neu, *dilyfn.*
[6] Neu, *Ramoth.*
[7] Neu, *maen gwerthfawr.*
[d] ad. 12.
[e] ad. 14.
[f] Ps. 135. 7.

Cyn CRIST Cylch 1520.

[8] mynegodd hi; efe a'i parottôdd hi,
a hefyd efe a'i chwiliodd hi allan.
28 Ac wrth ddyn efe a ddywedodd,
Wele, [g] ofn yr Arglwydd, hynny *yd-*
*yw* doethineb; a chilio oddi wrth
ddrwg, *sydd* ddeall.

## PENNOD XXIX.

*Job yn cwyno iddo ei hun, o herwydd ei lwydd-iant a'i anrhydedd o'r blaen.*

YNA Job a [2] barablodd drachefn,
ac a ddywedodd,
2 O na bawn i fel *yn* [a] y misoedd
o'r blaen, fel *yn* y dyddiau *pan*
gadwai DUW fi;
3 Pan wnai efe i'w [3] oleuni lewyrchu
ar fy mhen, wrth oleuni yr hwn y
rhodiwn *trwy* dywyllwch;
4 Pan oeddwn yn nyddiau fy ieu-
engctid, a dirgelwch DUW ar fy
mhabell;
5 Pan *oedd* yr Hollalluog etto gyd
â mi, *a'*m plant o'm hamgylch;
6 Pan [b] olchwn fy nghamrau âg
ymenyn, a *phan* dywalltai y [c] graig
[4] i mi afonydd o olew;
7 Pan awn i allan i'r porth trwy
y dref; *pan* barottôwn fy eisteddfa
yn yr heol!
8 Llangciau a'm gwelent, ac a ym-
guddient; a henuriaid a gyfodent,
*ac* a safent i fynu.
9 Tywysogion a attalient eu hym-
adroddion, ac a osodent *eu* llaw ar
eu genau.
10 [5] Pendefigion a dawent â sôn, a'u
tafod a lynai wrth daflod eu genau.
11 Pan *y'm* clywai clust, hi a'm
bendithiai; a phan *y'm* gwelai llyg-
ad, efe a dystiolaethai gyd â mi:
12 Am fy mod [d] yn gwaredu y tlawd
a fyddai yn gweiddi, a'r amddifad,
a'r *hwn* ni *byddai* gynnorthwywr
iddo.
13 Bendith yr hwn oedd ar ddarfod
am dano a ddeuai arnaf; a gwnawn
i galon y wraig weddw lawenychu.
14 [e] Gwisgwn gyfiawnder, a hithau
a wisgai am danaf fi: a'm barn
*fyddai* fel mantell a choron.
15 Llygaid oeddwn i'r dall; a
thraed *oeddwn* i'r cloff.
16 Tad *oeddwn* i'r anghenog; [f] a'r
cŵyn ni wyddwn a chwiliwn allan.
17 Drylliwn hefyd [g] gilddannedd
yr anghyfiawn, ac a [6] dynnwn yr
ysglyfaeth allan o'i ddannedd ef.
18 Yna y dywedwn, Byddaf farw
yn fy nyth; a byddaf mor aml *fy*
nyddiau a'r tywod.
19 [h] Fy ngwreiddyn *oedd* yn [7] ym-

[8] Neu, *rhifodd.*
[g] Deut. 4. 6. Ps. 111. 10. Diar. 1. 7. a 9. 10. Preg. 12. 13.
[2] Heb. *ychwanegodd gymmeryd ei ddammeg.*
[a] Edrych pen. 7. 3.
[3] Neu, *lamp,* Ps. 18. 28.
[b] Edrych Deut. 32. 13. a 33. 24. pen. 20. 17.
[c] Ps. 81. 16. Heb. *gyd â myfi.*
[5] Heb. *Llais y pendefigion a guddiwyd.*
[d] Ps. 72. 12. Diar. 21. 13. a 24. 11.
[e] Deut. 24. 13. Ps. 132. 9. Es. 59. 17. a 61. 10. Eph. 6. 14, &c. 1 Thess. 5. 8.
[f] Diar. 29. 7.
[g] Diar. 30. 14.
[6] Heb. *fwriwn.*
[h] pen. 18. 16.
[7] Heb. *agored.*

daenu [i] wrth y dyfroedd; a'r gwlith
a arhosodd ar hyd nos ar fy mrig.
20 Fy ngogoniant *oedd* [8] îr ynof fi;
[k] a'm bwa a [9] adnewyddai yn fy llaw.
21 Hwy a wrandawent arnaf, ac
a ddisgwylient; distawent wrth fy
nghynghor.
22 Ar ol fy ymadrodd ni ddywed-
ent hwy eilwaith; a'm hymadrodd
a ddiferai arnynt hwy.
23 A hwy a ddisgwylient am dan-
af fel am y gwlaw; ac a ledent eu
genau fel *am* [1] y diweddar-wlaw.
24 *Os* chwarddwn arnynt hwy, ni
chredent; ac ni wnaent hwy i lew-
yrch fy wyneb syrthio.
25 Dewiswn eu ffordd hwynt, eis-
teddwn yn bennaf, a thrigwn fel
brenhin mewn llu, megis yr hwn a
gysura rai galarus.

## PENNOD XXX.

1 *Troi anrhydedd Job yn ddygn ddïystyrwch:* 15 *a'i hawddfyd yn adfyd.*

OND yn awr *y rhai sydd* [2] ieuang-
ach na mi sydd yn fy ngwat-
war, y rhai y dïystyraswn eu tadau
i'w gosod gyd â chwn fy nefaid.
2 I ba beth *y gwasanaethai* cryf-
dwr eu dwylaw hwynt i mi? dar-
fuasai am [3] henaint ynddynt hwy.
3 Gan angen a newyn, unig *oedd-*
*ynt:* yn ffoi i'r anialwch [4] gynt, yn
ddiffaeth ac yn wŷllt:
4 Y rhai a dorrent yr hoccys mewn
brysglwyni, a gwraidd meryw yn
fwyd iddynt.
5 Hwy a yrrid ymaith o fysg *dyn-*
*ion,* (gwaeddent ar eu hol hwy, fel
*ar ol* lleidr;)
6 I drigo mewn holltau [5] afonydd,
*mewn* tyllau y ddaear, ac *yn* y
creigiau.
7 Hwy a ruent ym mhlith perthi:
hwy a ymgasglent dan ddanadl.
8 Meibion yr ynfyd, a meibion
rhai anenwog *oeddynt:* gwaelach
na'r ddaear oeddynt.
9 [a] Ac yn awr eu cân hwy ydwyf
fi, a myfi sydd yn destun iddynt.
10 Y maent yn fy ffieiddio, yn cil-
io ym mhell oddi wrthyf: ac nid
[6] arbedant [b] boeri yn fy wyneb.
11 Oblegid iddo [c] ddattod fy rhaff,
a'm cystuddio; hwythau a ollyng-
asant y ffrwyn yn fy ngolwg i.
12 Y rhai ieuaingc sydd yn codi ar
*fy llaw* ddehau; y maent yn gwthio
fy nhraed, ac [d] yn sarnu i'm herbyn
ffyrdd eu dinystr.
13 Anrheithiant fy llwybr, ychwan-

Cyn CRIST Cylch 1520.

[i] Ps. 1. 3. Jer. 17. 8.
[8] Heb. *newydd.*
[k] Gen. 49. 24.
[9] Heb. *newidiai.*
[1] Zech. 10. 1.
[2] Heb. *lai o ddyddiau na mi.*
[3] *oedran.*
[4] Heb. *neithiwyr.*
[5] *dyffrynoedd.*
[a] pen. 17. 6. Ps. 35. 15. a 69. 12. Galar. 3. 14, 63.
[6] Heb. *attaliant boeri o'm hwyneb.*
[b] Num. 12. 14. Deut. 25. 9. Es. 50. 6. Matt. 26. 67. a 27. 30.
[c] Edrych pen. 12. 18.
[d] pen. 19. 12.

Cyn CRIST Cylch 1520.

egant fy nhrueni, heb *fod* help iddynt.

14 Y maent hwy yn dyfod *arnaf* megis *dwfr trwy* adwy lydan: y maent yn ymdreiglo *arnaf* wrth yr anrhaith.

15 Dychryniadau a dröwyd arnaf: fel gwynt yr erlidiant fy [7]enaid: a'm hiachawdwriaeth a â heibio fel cwmmwl.

16 Am hynny yr [e]ymdywallt fy enaid yn awr arnaf; dyddiau cystudd a ymaflasant ynof.

17 Y nos y tyllir fy esgyrn o'm mewn: a'm gïau nid ydynt yn gorphwys.

18 Trwy fawr nerth *fy nghlefyd,* fy ngwisg a newidiodd: efe a'm hamgylcha fel coler fy mhais.

19 Efe a'm taflodd yn y clai; ac euthum yn gyffelyb i lwch a lludw.

20 Yr ydwyf yn llefain arnat ti, ac nid ydwyt yn gwrandaw: yr ydwyf yn sefyll, ac *nid* ystyri wrthyf.

21 Yr wyt yn troi yn greulawn yn fy erbyn; yr wyt yn fy ngwrthwynebu â nerth dy law.

22 Yr wyt yn fy nyrchafu i'r gwynt; yr ydwyt yn gwneuthur i mi farchogaeth *arno,* ac yr ydwyt yn toddi fy [8]sylwedd.

23 Canys myfi a wn y dygi di fi *i* farwolaeth; ac *i'r* tŷ [f]rhag-derfynedig i bob dyn byw.

24 Dïau nad estyn *ef* law i'r [9]bedd, er *bod* gwaedd ganddynt yn ei ddinystr ef.

25 [g]Oni wylais i dros yr hwn oedd galed *ei* [2]fyd? *oni* ofidiodd fy enaid dros yr anghenog?

26 Pan edrychais am ddaioni, drygfyd a ddaeth: pan ddisgwyliais am oleuni, tywyllwch a ddaeth.

27 Fy ymysgaroedd a ferwasant, ac ni orphwysasant: dyddiau cystudd a'm rhag-flaenasant.

28 [h]Cerddais yn alarus heb yr haul: codais, *a* gwaeddais yn y gynnulleidfa.

29 [i]Yr ydwyf yn frawd i'r dreigiau, ac yn gyfaill i gywion yr estrys.

30 [k]Fy nghroen a dduodd am danaf, [l]a'm hesgyrn a losgasant gan wres.

31 Aeth fy nhelyn hefyd yn alar, a'm horgan *fel* llais rhai yn wylo.

[7] Heb. *arbennig.*
[e] Ps. 42. 4.
[8] Neu, *noethineb.*
[f] Heb. 9. 27.
[9] Heb. *pentwr.*
[g] Ps. 35. 13, 14. Rhuf. 12. 15.
[2] Heb. *ddiwrnod?*
[h] Ps. 38. 6. a 42. 9. a 43. 2.
[i] Ps. 102. 6. Mic. 1. 8.
[k] Ps. 119. 83. Galar. 4. 8. a 5. 10.
[l] Ps. 102. 3.

## PENNOD XXXI.

*Job ar gyhoedd yn dangos ei burdeb mewn amryw bethau.*

MYFI a wneuthum ammod â'm [a]llygaid; paham gan hynny y meddyliwn am forwyn?

2 Canys pa [b]ran *sydd oddi wrth* DDUW oddi uchod? a *pha* etifeddiaeth *sydd oddi wrth* yr Hollalluog o'r uchelder?

3 Onid *oes* dinystr i'r anwir? a *dïaledd* dïeithr i'r rhai sydd yn gwneuthur anwiredd?

4 [c]Onid ydyw efe yn gweled fy ffyrdd i? ac yn cyfrif fy holl gamrau?

5 Os rhodiais mewn oferedd, ac os prysurodd fy nhroed i dwyllo;

6 Pwysed fi mewn cloriannau cyfiawn, a mynned DUW wybod fy mherffeithrwydd.

7 Os gŵyrodd fy ngherddediad allan o'r ffordd; a [d]myned o'm calon ar ol fy llygaid; neu lynu dim aflan wrth fy nwylaw:

8 *Yna* [e]hauwyf fi, a bwyttâed arall; ïe, dadwreiddier fy hiliogaeth i.

9 Os twylled fy nghalon gan wraig, ac *os* cynllwynais wrth ddrws fy nghymmydog;

10 Maled fy ngwraig innau i *wr* arall; ac ymgrymmed eraill arni hi.

11 Canys ysgelerder *ydyw* hyn, ac [f]anwiredd *ydyw i'w gospi gan* farnwyr.

12 Canys tân *ydyw* a ysa oni anrheithio, ac *efe* a ddadwreiddia fy holl ffrwyth.

13 Os dïystyrais achos fy ngwas a'm gwasanaethferch, pan ymrysonent â mi;

14 Pa beth gan hynny a wnaf pan [g]godo DUW? a phan ymwelo efe, pa beth a attebaf iddo?

15 [h]Onid yr hwn a'm gwnaeth i yn y groth, a'i gwnaeth yntau? ac [2]onid yr un a'n lluniodd yn y bru?

16 Os atteliais *ddim* o ddeisyfiad y tlawd, ac *os* gwneuthum i lygaid y weddw ddiffygio;

17 Ac os bwytteais fy [3]mwyd yn unig, ac oni fwyttaodd yr amddifad o hono;

18 (Canys efe a gynnyddodd gyd â mi, fel *gyd â* thad, o'm hieuengctid; ac o groth fy mam mi a'i tywysais [4]hi;)

19 Os gwelais neb yn marw o eisieu dillad, a'r anghenog heb wisg:

20 Os ei lwynau ef ni'm [i]bendithiasant, ac *oni* chynhesodd efe gan gnu fy nefaid i;

Cyn CRIST Cylch 1520.

[a] Matt. 5. 28.
[b] pen. 20. 29. a 27. 13.
[c] 2 Chron. 16. 9. pen. 34. 21. Diar. 5. 21. a 15. 3. Jer. 32. 19.
[d] Edrych Num. 15. 39. Ezec. 6. 9. Matt. 5. 29.
[e] Lef. 26. 16. Deut. 28. 30, 38, &c.
[f] Gen. 38. 24. Lef. 20. 10. Deut. 22. 22. Edrych ad. 28.
[g] Ps. 44. 21.
[h] pen. 34. 19. Diar. 14. 31. a 22. 2. Mal. 2. 10.
[2] Neu, *onid efe a'n lluniodd ni mewn un groth?*
[3] Heb. *nhammaid.*
[4] Sef, *y weddw.*
[i] Edrych Deut. 24. 13.

Cyn CRIST Cylch 1520.

21 Os codais fy llaw yn erbyn yr
amddifad, pan welwn fy nghym-
morth yn y porth:
22 Syrthied fy mraich oddi wrth
fy ysgwydd, a thorrer fy mraich
oddi wrth y cymmal.
23 Canys [k] ofn dinystr DUW *oedd*
arnaf; a chan ei uchelder ef ni
allwn oddef.
24 [l] Os gosodais fy ngobaith *mewn*
aur; ac os dywedais wrth aur coeth,
Fy ymddiried *wyt;*
25 [m] Os llawenychais am *fod* fy
nghyfoeth yn fawr, ac oblegid i'm
llaw gael llawer;
26 [n] Os edrychais ar yr haul pan
dywynnai, a'r lleuad yn cerdded yn
ddisglaer;
27 Ac os hudwyd fy nghalon yn
guddiedig, ac *os* fy ngenau a gusan-
odd fy llaw:
28 Hyn hefyd *fuasai* [o] anwiredd
i'w gospi gan y barnwyr: canys
gwadaswn DDUW uchod.
29 [p] Os llawenychais i am dry-
chineb yr hwn a'm casâi, ac os
ymgodais pan [5] ddigwyddodd drwg
iddo:
30 [q] Ac ni ddïoddefais i daflod fy
ngenau bechu; gan ofyn ei einioes
ef trwy felldithio.
31 Oni ddywedodd dynion fy
mhabell, O na chaem o'i gnawd ef!
ni ddigonir ni.
32 [r] Ni lettŷodd dïeithr ddyn yn yr
heol: agorais fy nrysau i'r [6] fforddd-
olion.
33 Os cuddiais fy nghamweddau
[s] fel [7] Adda; gan guddio fy anwiredd
yn fy mynwes;
34 A ofnais i dyrfa lïosog, neu a'm
dychrynai dirmyg teulu; fel y tawn,
heb fyned allan *o*'m drws?
35 O am un a'm gwrandawai!
wele, fy [8] nymuniad yw, [t] *i*'r Hollall-
uog fy atteb i, ac ysgrifenu o'm
gwrthwynebwr lyfr.
36 Dïau y dygwn ef ar fy ys-
gwydd; *a* rhwymwn ef yn *lle* cor-
on i mi.
37 Mynegwn iddo rifedi fy ngham-
rau; fel tywysog y nesâwn atto.
38 Os ydyw fy nhir i yn llefain yn
fy erbyn, ac *os* ydyw ei gwysau ef
yn cyd-wylo;
39 Os bwytteais i ei [9] gnwd ef heb
arian, ac *os* cystuddiais enaid ei
berchennogion ef:
40 Tyfed [u] ysgall yn lle gwenith, a
[2] bulwg yn lle haidd.
Diweddwyd geiriau Job.

[k] Es. 13. 6. Joel 1. 15.
[l] Marc 10. 24. 1 Tim. 6. 17.
[m] Ps. 62. 10.
[n] Deut. 4. 19. a 11. 16. a 17. 3.
[o] ad. 11.
[p] Diar. 17. 5.
[5] Heb. *gafodd drwg ef.*
[q] Matt. 5. 44. Rhuf. 12. 14.
[r] Rhuf. 12. 13. Heb. 13. 2. 1 Petr 4. 9.
[6] Neu, *ffordd.*
[s] Gen. 3. 8, 12. Hos. 6. 7.
[7] Neu, *dyn.*
[8] Neu, *argoel yw yr ettyb yr Hollalluog fi.*
[t] pen. 13. 22.
[9] Heb. *gryfdwr.*
[u] Gen. 3. 18.
[2] Neu, *chwyn niweidiol.*

## PENNOD XXXII.

1 *Elihu yn ddig wrth Job a'i gyfeillion:* 6 *ac, am nad yw doethineb yn dyfod o henaint, yn esgusodi hyfder ei ieuengctid ei hun;* 11 *ac yn beio arnynt hwy, nad oeddynt yn bodd-loni Job.* 16 *Ei zêl ef i lefaru.*

FELLY y tri gwr yma a beidias-
ant âg atteb i Job, am ei *fod*
ef yn gyfiawn yn ei olwg ei hun.
2 Yna digofaint Elihu, mab Ba-
rachel y Buziad, o genedl Ram, a
gynneuodd: ei ddigofaint ef a en-
nynodd yn erbyn Job, am farnu o
hono ei enaid yn gyfiawn o flaen
DUW.
3 A'i ddigofaint ef a gynneuodd
yn erbyn ei dri chyfaill, am na
chawsent hwy atteb, ac *er hynny,*
farnu o honynt Job yn euog.
4 Elihu hefyd a [2] arhosasai ar
Job nes darfod iddo lefaru: canys
*yr oeddynt* hwy yn hŷn nag ef o
[3] oedran.
5 Pan welodd Elihu nad *oedd* at-
teb gan y tri wŷr hyn, yna y cyn-
neuodd ei ddigofaint ef.
6 Ac Elihu, mab Barachel y Bu-
ziad, a attebodd ac a ddywedodd,
[4] Ieuangc ydwyf o oedran, chwithau
*ydych* hen iawn: am hynny yr ar-
swydais, ac yr ofnais ddangos fy
meddwl i chwi.
7 Dywedais, Dyddiau a draethant,
a llïaws o flynyddoedd a ddysgant
ddoethineb.
8 Ond *y mae* yspryd mewn dyn;
ac [a] ysprydoliaeth yr Hollalluog sydd
yn gwneuthur iddynt hwy ddeall.
9 Nid yw *gwŷr* mawrion ddoeth
*bob amser:* ac nid yw henafgwyr
yn deall barn.
10 Am hynny y dywedais, Gwran-
do fi; minnau a ddangosaf fy
meddwl.
11 Wele, disgwyliais wrth eich
geiriau; clust-ymwrandewais â'ch
[5] rhesymmau, tra y chwiliasoch chwi
am eiriau.
12 Ië, mi a ddeliais arnoch: ac
wele, nid oedd *un* o honoch yn ar-
gyhoeddi Job, gan atteb ei eiriau
ef:
13 Rhag dywedyd o honoch, Ni a
gawsom ddoethineb: DUW sydd yn
ei wthio ef i lawr, ac nid dyn.
14 Er na [6] hwyliodd efe *ei* ymad-
roddion yn fy erbyn i: ac nid atteb-
af finnau iddo â'ch geiriau chwi.
15 Hwy a synnasant, nid attebas-
ant mwy; [7] peidiasant â llefaru.
16 Wedi disgwyl o honof, (canys

Cyn CRIST Cylch 1520.

[2] *ddisgwyl-iasai Job mewn geir-iau.*
[3] Heb. *ddyddiau.*
[4] Heb. *Bychan ydwyf o ddyddiau.*
[a] pen. 35. 11. a 38. 36. Diar. 2. 6. Preg. 2. 26. Dan. 1. 17. a 2. 21. Iago 1. 5.
[5] Heb. *deall.*
[6] Heb. *threfnodd.*
[7] Heb. *symmud-asant oddi wrthynt ymadrodd-ion.*

Cyn CRIST Cylch 1520.

ni lefarent, eithr sefyll heb atteb mwy,)

17 *Dywedais,* Minnau a attebaf fy rhan, minnau a ddangosaf fy meddwl.

18 Canys yr ydwyf yn llawn geiriau : y mae [8]yr yspryd sydd ynof yn fy nghymmell i.

19 Wele, fy mol *sydd* fel gwin nid agorid arno : y mae efe yn hollti fel costrelau newyddion.

20 Dywedaf, fel y caffwyf fy anadl: agoraf fy ngwefusau, ac attebaf.

21 Ni dderbyniaf yn awr wyneb neb : ni wenhieithiaf wrth ddyn.

22 Canys ni fedraf wenhieithio; *pe gwnawn,* buan y'm cymmerai fy Ngwneuthurwr ymaith.

## PENNOD XXXIII.

1 *Elihu yn ymgynnyg i ymresymmu â Job dros Dduw, mewn purdeb a llarieidd-dra ;* 8 *yn dangos nad yw Duw rwymedig i roi cyfrif o'i ffyrdd i ddyn.* 14 *Duw yn galw dyn i edifeirwch, trwy weledigaethau,* 19 *trwy gystuddiau,* 23 *a thrwy ei weinidogion.* 31 *Y mae efe yn annog Job i wrandaw.*

O HERWYDD paham, Job, clyw, attolwg, fy ymadroddion ; a gwrando fy holl eiriau.

2 Wele, yr ydwyf yn awr yn agoryd fy ngenau; mae fy nhafod yn dywedyd yn nhaflod fy ngenau.

3 *O* uniondeb fy nghalon *y bydd* fy ngeiriau; a'm gwefusau a adroddant wybodaeth bur.

4 [a]Yspryd DUW a'm gwnaeth i; ac anadl yr Hollalluog a'm bywioccaodd i.

5 Os gelli, atteb fi: ymbarottoa, *a* saf o'm blaen i.

6 [b]Wele fi, yn ol dy [2]ddymuniad di, yn lle DUW: allan o'r clai y torrwyd finnau.

7 Wele, ni'th ddychryna fy arswyd i, ac ni bydd fy llaw yn drom arnat.

8 Dywedaist yn ddïau [3]lle y clywais i, a myfi a glywais lais *dy* ymadroddion :

9 [c]Pur *ydwyf* fi heb gamwedd: glân *ydwyf,* ac heb anwiredd ynof.

10 Wele, efe a gafodd achosion yn fy erbyn : [d]y mae efe yn fy nghyfrif yn elyn iddo.

11 [e]Y mae yn gosod fy nhraed yn y cyffion; y mae yn gwylied fy holl lwybrau.

12 Wele, *yn* hyn nid ydwyt gyfiawn. Mi a'th attebaf, mai mwy ydyw DUW na dyn.

13 Paham yr ymrysoni yn ei erbyn ef? o herwydd nid ydyw efe yn [4]rhoi cyfrif am ddim o'i weithredoedd.

14 Canys y mae DUW yn llefaru unwaith, ïe, ddwywaith; *ond* ni ddeall *dyn.*

15 Trwy hûn, *a thrwy* weledigaeth nos, pan syrthio trwmgwsg ar ddynion, wrth hepian ar wely;

16 Yna [5][f]yr egyr efe glustiau dynion, ac y selia efe addysg iddynt:

17 I dynnu dyn *oddi wrth ei* waith, ac i guddio balchder oddi wrth ddyn.

18 Y mae efe yn cadw ei enaid ef rhag y pwll; a'i hoedl ef rhag ei [6]cholli trwy y cleddyf.

19 Ac efe a geryddir trwy ofid ar ei wely; a llïaws ei esgyrn ef â *gofid* caled :

20 [g]Fel y ffieiddio ei fywyd ef fara, a'i enaid fwyd [7]blasus.

21 Derfydd ei gnawd ef allan o olwg: saif ei esgyrn allan, *y rhai* ni welid *o'r blaen.*

22 Nesâu y mae ei enaid i'r bedd, a'i fywyd i'r dinystrwyr.

23 Os bydd gyd âg ef gennad o [8]ladmerydd, un o fil, i ddangos i ddyn ei uniondeb:

24 Yna efe a drugarhâ wrtho, ac a ddywed, Gollwng ef, rhag disgyn o hono i'r clawdd: myfi a gefais [9]iawn.

25 Ireiddiach *fydd* ei gnawd na [2]bachgen: efe a ddychwel at ddyddiau ei ieuengctid.

26 Efe a weddïa ar DDUW, ac yntau a fydd boddlawn iddo; ac efe a edrych yn ei wyneb ef mewn gorfoledd: canys efe a dâl i ddyn ei gyfiawnder.

27 Efe a edrych ar ddynion, [3]ac *os* dywed *neb,* Mi a bechais, ac a ŵyrais uniondeb, ac ni lwyddodd i mi;

28 Efe a [4]wared ei enaid ef rhag myned i'r clawdd, [5]a'i fywyd a wêl oleuni.

29 Wele, hyn oll a wna DUW [6]ddwywaith *neu* dair â dyn,

30 [h]I ddwyn ei enaid ef o'r pwll, i'w oleuo â goleuni y rhai byw.

31 Gwrando, Job, clyw fi: taw, a mi a lefaraf.

32 Od oes geiriau gennyt, atteb fi: llefara; canys chwennychwn dy gyfiawnhâu di.

33 Onid ê, gwrando arnaf fi: bydd ddistaw, a myfi a ddysgaf i ti ddoethineb.

Cyn CRIST Cylch 1520.

[8] Heb. *yspryd fy mol.*
[a] Gen. 2. 7.
[b] pen. 9. 34, 35. a 13. 20, 21.
[2] Heb. *enau.*
[3] Heb. *yn fy nghlustiau.*
[c] pen. 9. 17. a 10. 7. a 11. 4. a 16. 17. a 23. 10, 11. a 27. 5. a 29. 14. a 31. 1.
[d] pen. 13. 24. a 16. 9. a 19. 11.
[e] pen. 13. 27. a 14. 16.
[4] Heb. *atteb.*
[5] Heb. *y datguddia.*
[f] pen. 36. 10, 15.
[6] Heb. *myned ymaith.*
[g] Ps. 107. 18.
[7] Heb. *dymunol.*
[8] Neu, *ddeonglwr.*
[9] Neu, *gymmod.*
[2] Heb. *mabolaeth.*
[3] Neu, *ac a ddywed.*
[4] Neu, *waredodd fy enaid.*
[5] Neu, *a'm bywyd.*
[6] *ynfynych.*
[h] Ps. 56. 13.

Cyn CRIST Cylch 1520.

## PENNOD XXXIV.

1 *Elihu yn beio ar Job, am fwrw ar Dduw fod yn anghyfiawn.* 10 *Nas gall Duw Hollalluog fod yn anghyfiawn.* 31 *Rhaid i ddyn ymddarostwng i Dduw.* 34 *Elihu yn ceryddu Job.*

AC Elihu a lefarodd ac a ddywedodd,
2 *Ha wŷr* doethion, gwrandêwch
fy ymadroddion; a *chwychwi* y rhai
ydych yn gwybod, clust-ymwrandêwch.
3 [a]Canys y glust a farn ymadroddion, fel yr archwaetha [2]y genau
fwyd.
4 Dewiswn i ni farn, gwybyddwn
rhyngom pa beth sydd dda.
5 Canys dywedodd Job, Cyfiawn
ydwyf: a [b]DUW a ddug ymaith fy
marn.
6 A ddywedaf fi gelwydd yn erbyn fy matter fy hun? [c]anaele *yw*
fy [3]archoll heb gamwedd.
7 Pa wr *sydd* fel Job, [d]*yr hwn* a
ŷf watwargerdd fel dwfr?
8 Ac a rodio y'nghymdeithas gyd
â gweithredwyr anwiredd, ac sydd
yn myned gyd â dynion annuwiol.
9 Canys [e]dywedodd, Ni fuddia i
wr ymhyfrydu â DUW.
10 Am hynny chwychwi wŷr calonnog, gwrandêwch arnaf. [f]Pell
oddi wrth DDUW fyddo *gwneuthur*
annuwioldeb, ac oddi wrth yr Hollalluog *weithredu* anwiredd.
11 [g]Canys efe a dâl i ddyn ei
waith; ac efe a wna i wr gael yn ol
ei ffyrdd ei hun.
12 Dïau hefyd na wna DUW yn
annuwiol; ac na ŵyra yr Hollalluog
farn.
13 Pwy a roddes iddo ef lywodraethu y ddaear? a phwy a osododd
[4]yr holl fyd?
14 [h]Os gesyd ei galon [5]ar *ddyn,*
*os* casgl efe atto ei hun ei yspryd
a'i anadl ef;
15 [i]Pob cnawd a gyd-drenga, a
dyn a ddychwel i'r pridd.
16 Ac od *oes* ddeall *ynot,* gwrando
hyn: clust-ymwrando â llef fy ymadroddion.
17 [k]A gaiff yr hwn sydd yn casâu
barn, [6]lywodraethu? ac a ferni di
yr hwn sydd gyfiawn odiaeth, yn
annuwiol?
18 A ddywedir wrth frenhin, Dryg-ionus *ydwyt? ac,* Annuwiol *ydych,*
wrth dywysogion?
19 *Pa faint llai wrth* yr hwn [l]ni
dderbyn wynebau tywysogion, ac

[a] pen. 6. 30. a 12. 11.
[2] Heb. *taflod y genau.*
[b] pen. 27. 2.
[c] pen. 9. 17.
[3] Heb. *saeth,* pen. 6. 4. a 16. 13.
[d] pen. 15. 16.
[e] pen. 35. 3.
[f] Deut. 32. 4. 2 Chron. 19. 7. pen. 8. 3. a 36. 23. Ps. 92. 15. Rhuf. 9. 14.
[g] Ps. 62. 12. Diar. 24. 12. Jer. 32. 19. Ezec. 33. 20. Matt. 16. 27. Rhuf. 2. 6. 2 Cor. 5. 10. 1 Petr 1. 17. Dat. 22. 12.
[4] Heb. *y cwbl o hono?*
[h] Ps. 104. 29. Preg. 12. 7.
[5] Heb. *arno ef.*
[i] Gen. 3. 19. Preg. 12. 7.
[k] Gen. 18. 25.
[6] Heb. *rwymo?*
[l] Deut. 10. 17. 2 Chron. 19. 7. Act. 10. 34. Rhuf. 2. 11. Gal. 2. 6. Eph. 6. 9. Col. 3. 25.

nid edwyn y goludog o flaen y
tlawd? canys [m]gwaith ei ddwylaw
ef *ydynt* oll.
20 Hwy a fyddant meirw mewn
moment, a hanner nos y cynhyrfa y
bobl, ac yr ânt ymaith: a'r cadarn
a [7]symmudir heb *waith* llaw.
21 [n]Canys ei lygaid ef *sydd* ar
ffyrdd dyn, ac efe a wêl ei holl
gamrau ef.
22 [o]Nid *oes* dywyllwch, na chysgod angau, lle y gall y rhai sydd
yn gweithio anwiredd, ymguddio.
23 Canys ni esyd DUW ar ddyn
ychwaneg *nag a haeddo;* fel y
gallo efe fyned i gyfraith â DUW.
24 Efe a ddryllia rai cedyrn yn
[8]aneirif, ac a esyd eraill yn eu lle
hwynt.
25 Am hynny efe a edwyn eu
gweithredoedd hwy: a phan newidio efe y nos, hwy a [9]ddryllir.
26 Efe a'u tery hwynt, megis rhai
annuwiol, [2]yn amlwg:
27 Am iddynt gilio oddi ar ei
ol ef, ac [p]nad ystyrient ddim o'i
ffyrdd ef:
28 Gan ddwyn gwaedd y tlawd
atto ef, ac efe a wrendy waedd y
cystuddiol.
29 Pan esmwythao efe, pwy a
anesmwythâ? a phan guddio efe *ei*
wyneb, pwy a edrych arno? pa un
bynnag ai yn erbyn cenedl, ai yn
erbyn dyn yn unig:
30 Fel na theyrnasai dyn ffuantus,
*ac* na rwyder y bobl.
31 Ond wrth DDUW, yr hwn a
ddywed, Mi a faddeuais, nid anrheithiaf, *y dylid dywedyd;*
32 Heb law a welaf, dysg di fi: o
gwneuthum anwiredd, ni wnaf fi
mwy.
33 Ai [3]wrth dy feddwl di *y byddai?* efe a'i tâl, pa un bynnag a
wnelych ai gwrthod, ai dewis; ac
nid myfi: am hynny dywed yr hyn
a wyddost.
34 Gwŷr [4]call, dywedant i mi; a'r
gwr doeth, clywed fi.
35 Job a ddywedodd yn annoeth; a'i eiriau *ydynt* heb ddoethineb.
36 Fy Nhad, profer Job hyd y
diwedd, am *roddi* attebion dros
ddynion anwir.
37 Canys efe a chwanegodd ysgelerder at ei bechod; efe a gurodd *ei ddwylaw* yn ein plith ni,
ac a amlhaodd ei eiriau yn erbyn
DUW.

Cyn CRIST Cylch 1520.

[m] pen. 31. 15.
[7] Heb. *symmudant.*
[n] 2 Chron. 16. 9. pen. 31. 4. Ps. 34. 15. Diar 5. 21. a 15. 3. Jer. 16. 17. a 32. 19.
[o] Ps. 139. 12. Amos 9. 2, 3. Heb. 4. 13.
[8] Heb. *anchwiliadwy.*
[9] Heb. *ysigir.*
[2] Heb. *ym mangre y rhai sydd yn edrych.*
[p] Ps. 28. 5. Es. 5. 12.
[3] Heb. *oddi gyd â thi.*
[4] Heb. *o galon.*

Cyn CRIST Cylch 1520.

## PENNOD XXXV.

1 *Nad oes mo'r ymgystadlu â Duw; am nad yw na'n daioni ni na'n drygioni yn dda nac yn ddrwg iddo ef.* 9 *Bod llawer yn gwaeddi ar Dduw yn eu cystudd, ac heb gael eu gwrandaw, o eisieu ffydd.*

AC Elihu a lefarodd ac a ddy-
wedodd,
2 A gyfrifaist di yn uniawn ddy-
wedyd o honot, *Y mae* fy nghyf-
iawnder i yn fwy na'r eiddo DUW?
3 Canys [a] dywedaist, Pa lês a wna
*hynny* i ti? pa beth a ennillaf, [2] *er fy*
*nglanhâu* oddi wrth fy mhechod?
4 Myfi a [3] attebaf i ti, ac i'th gyf-
eillion gyd â thi.
5 [b] Edrych ar y nefoedd, a gwel;
ac edrych ar y cymmylau, *y rhai*
sydd uwch na thi.
6 Os pechi, pa *niwed* a wnei di
iddo ef? os aml fydd dy anwiredd-
au, pa beth yr wyt yn ei wneuthur
iddo ef?
7 [c] Os cyfiawn fyddi, pa beth yr wyt
yn ei roddi iddo ef? neu pa beth y
mae efe yn ei gael ar dy law di?
8 I wr fel tydi, dy annuwioldeb,
ac i fab dyn, dy gyfiawnder, *a all*
*ryw beth.*
9 Gan faint y gorthrymder, hwy
a wnant i'r *gorthrymmedig* lefain:
hwy a floeddiant rhag braich y
cedyrn.
10 Ond ni ddywed neb, Pa le y
mae DUW, yr hwn a'm gwnaeth i;
[d] yr hwn sydd yn rhoddi *achosion i*
*ganu* y nos?
11 Yr hwn sydd yn ein dysgu yn
fwy nag anifeiliaid y ddaear, ac yn
ein gwneuthur yn ddoethach nag
ehediaid y nefoedd.
12 [e] Yna hwy a waeddant rhag
balchder y rhai drwg, ac ni chlyw
efe.
13 [f] Dïau na wrendy DUW oferedd,
ac nad edrych yr Hollalluog arno.
14 Er dywedyd o honot na weli
ef, *etto y mae* barn ger ei fron ef:
disgwyl dithau wrtho.
15 Ac yn awr, am nad *yw felly*, [4] efe
a ymwelodd yn ei ddigofaint; etto
ni ŵyr [5] efe mewn dirfawr galedi:
16 Am hynny y lleda Job ei safn
yn ofer; ac yr amlhâ eiriau heb
wybodaeth.

a pen. 21. 15. a 34. 9.
2 Neu, *oddi wrtho* mwy nag *oddi wrth fy mhechod?*
3 Heb. *ddychwelaf eiriau i ti.*
b pen. 22. 12.
c pen. 22. 2, 3. Ps. 16. 2. Diar. 9. 12. Rhuf. 11. 35.
d Ps. 42. 8. a 77. 6. a 149. 5.
e Diar. 1. 28.
f pen. 27. 9. Diar. 15. 29. Jer. 11. 11.
4 Sef, *Duw.*
5 Sef, *Job.*

## PENNOD XXXVI.

1 *Elihu yn dangos bod Duw yn gyfiawn yn ei ffyrdd.* 16 *Y modd y mae pechodau Job yn attal bendithion Duw.* 24 *Rhaid yw mawrhâu gweithredoedd Duw.*

AC Elihu a aeth rhagddo, ac a
ddywedodd,
2 Goddef i mi ychydig, a myfi a
fynegaf i ti, *fod gennyf* ymadrodd-
ion etto dros DDUW.
3 O bell y cymmeraf fy ngwybod-
aeth, ac i'm Gwneuthurwr y rhodd-
af gyfiawnder.
4 Canys yn wir nid celwydd *fydd*
fy ymadroddion: y perffaith o wyb-
odaeth *sydd* gyd â thi.
5 Wele, cadarn *ydyw* DUW, ac ni
ddïystyra efe *neb*: [a] cadarn o gad-
ernid a [6] doethineb *yw efe.*
6 Nid achub efe fywyd yr annuw-
iol; ond efe a rydd uniondeb *i'r*
[7] trueiniaid.
7 [b] Ni thyn efe ei olwg oddi ar y
cyfiawn; eithr [c] *y maent* gyd â bren-
hinoedd, ar yr orsedd-faingc; ïe,
efe a'u sicrhâ yn dragywydd, a hwy
a ddyrchefir.
8 Ac [d] os *hwy* a rwymir â gefynnau,
*ac* a ddêlir â rhaffau gorthrymder;
9 Yna efe a ddengys iddynt hwy
eu gwaith, a'u hanwireddau, aml-
hâu o honynt:
10 [e] Ac a egyr eu clustiau hwy i
*dderbyn* cerydd; ac a ddywed am
droi o honynt oddi wrth anwiredd.
11 Os gwrandawant hwy, a'*i* was-
anaethu *ef*, hwy a [f] dreuliant eu
dyddiau mewn daioni, a'u blynydd-
oedd mewn hyfrydwch.
12 Ac oni wrandawant, [8] difethir
hwy gan y cleddyf; a hwy a dreng-
ant heb wybodaeth.
13 Ond y rhai rhagrithiol o galon
[g] a chwanegant ddig: ni waeddant
pan rwymo efe hwynt.
14 [h] Eu henaid hwythau fydd marw
mewn ieuengctid, a'u bywyd gyd
â'r [9] aflan.
15 Efe a wared y [2] truan yn ei gys-
tudd, ac a egyr eu clustiau hwynt
mewn gorthrymder.
16 Felly hefyd efe a'th symmud-
asai di o enau cyfyngdra *i* ehang-
der, lle nid *oes* gwasgfa; [3] a [i] saig dy
fwrdd di *fuasai* yn llawn brasder.
17 Ond ti a gyflawnaist farn yr
annuwiol: barn a chyfiawnder [4] a
ymaflant *ynot.*
18 O herwydd *bod* digofaint,
*gochel,* rhag iddo dy gymmeryd di
ymaith â'*i* ddyrnod: yna [k] ni'th [5] war-
ed iawn mawr.
19 A brisia efe ar dy olud di? *na*
*phrisia,* ar aur, nac ar holl gad-
ernid nerth.
20 Na chwennych y nos, pan dor-
rer pobl ymaith yn eu lle.
21 Ymochel, nac edrych ar an-

Cyn CRIST Cylch 1520.

a pen. 9. 4. a 12. 13, 16. a 37. 23. Ps. 99. 4.
6 Heb. *chalon.*
7 Neu, *cystuddiol.*
b Ps. 33. 18. a 34. 15.
c Ps. 113. 8.
d Ps. 107. 10.
e pen. 33. 16, 23.
f pen. 21. 13.
8 Heb. *ânt ymaith.*
g Rhuf. 2. 5.
h pen. 15. 32. a 22. 16. Ps. 55. 23.
9 Neu, *sodomiaid.*
2 Neu, *cystuddiol.*
3 Heb. *yr hyn a orphwys ar dy fwrdd.*
i Ps. 23. 5.
4 Neu, *a'th gynhaliant.*
k Ps. 49. 7.
5 Heb. *dry heibio.*

Cyn CRIST Cylch 1520.

wiredd: canys hynny a ddewisaist
o flaen cystudd.
22 Wele, DUW trwy ei nerth a
ddyrchafa: [l] pwy sydd yn dysgu fel
efe?
23 [m] Pwy a orchymynodd ei ffordd
ef iddo? a [n] phwy a ddywed,
Gwnaethost anwiredd?
24 Cofia fawrhâu ei waith ef, ar
yr hwn yr edrych dynion.
25 Pob dyn a'i gwel; *a* dyn *a'i*
cenfydd o bell.
26 Wele, mawr *yw* DUW, ac nid
adwaenom *ef;* ac [o] ni fedrir chwilio
allan nifer ei flynyddoedd ef.
27 Canys efe a wna y defnynnau
dyfroedd yn fân: hwy a dywalltant
wlaw fel y byddo ei darth;
28 Yr hwn a ddifera *ac* a ddefn-
ynna y cymmylau ar ddyn yn hel-
aeth.
29 Hefyd, a ddeall *dyn* daeniadau
y cymmylau, *a* thwrf ei babell ef?
30 Wele, efe a daenodd ei oleuni
arno, ac a orchuddiodd [6] waelod y
môr.
31 Canys [p] â hwynt y barn efe y
bobloedd, *ac* y rhydd efe fwyd yn
helaeth.
32 Efe a guddia y goleuni â chym-
mylau; ac a rydd orchymyn iddo
*na thywynno* trwy y *cwmmwl* sydd
rhyngddynt.
33 Ei dwrf a fynega am dano, a'r
anifeiliaid am [7] y tarth.

## PENNOD XXXVII.

1 *Rhaid yw ofni Duw o herwydd ei weithredoedd.* 15 *Bod ei ddoethineb ef yn anchwiliadwy ynddynt hwy.*

WRTH hyn hefyd y cryn fy
nghalon, ac y dychlamma hi
o'i lle.
2 Gan wrandaw gwrandêwch ar
swn ei lef, ac ar y sain a ddaw allan
o'i enau ef.
3 Efe a'i hyfforddia dan yr holl
nefoedd, a'i [2] fellt hyd [3] eithafoedd
y ddaear.
4 [a] Swn a rua ar ei ol ef: efe a
wna daranau â llais ei odidowg-
rwydd, ac ni oeda efe hwynt, pan
glywir ei dwrf ef.
5 DUW a wna daranau â'i lais yn
rhyfedd: [b] y mae yn gwneuthur
pethau mwy nag a wyddom ni.
6 Canys [c] efe a ddywed wrth yr
eira, Bydd *ar* y ddaear; ac wrth
gawod o wlaw, ac wrth [4] wlaw mawr
ei nerth ef.
7 Efe a selia law pob dyn, fel yr
adwaeno pawb ei waith ef.

8 Yna yr â y bwystfil i'w loches,
ac y trig yn ei le.
9 O'r [5] dehau y daw corwynt; ac
oerni oddi wrth y [6] gogledd.
10 [d] A'i wynt y rhydd DUW rew:
a lled y dyfroedd a gyfyngir.
11 Hefyd efe a flina gwmmwl yn
dyfrhâu; efe a wasgar [7] ei gwmmwl
goleu.
12 Ac y mae hwnnw yn ymdrôi
oddi amgylch wrth ei lywodraeth
ef: fel y gwnelont hwy beth byn-
nag a orchymyno efe iddynt, ar
hyd wyneb y byd ar y ddaear.
13 Pa un bynnag ai yn [8] gospedig-
aeth, ai [e] i'w ddaear, ai [f] er daioni,
[g] efe a bâr iddo ddyfod.
14 Gwrando hyn, Job; saf, ac ys-
tyria ryfeddodau DUW.
15 A wyddost ti pa bryd y dos-
parthodd DUW hwynt, ac y gwnaeth
efe i oleuni ei gwmmwl lewyrchu?
16 A wyddost ti oddi wrth bwysau
y cymmylau, rhyfeddodau yr hwn
sydd berffeith-gwbl o wybodaeth?
17 Pa fodd *y mae* dy ddillad yn
gynnes, pan baro efe y ddaear yn
dawel â'r deheu-*wynt?*
18 [h] A daenaist ti gyd âg ef yr
wybren, *yr hon* a sicrhawyd fel
drych toddedig?
19 Gwna i ni wybod pa beth a
ddywedwn wrtho: ni fedrwn ni gyf-
leu *ein geiriau* gan dywyllwch.
20 A fynegir iddo ef, os llefaraf?
os dywed neb, dïau y llyngcir ef.
21 Ac yn awr, ni wêl *neb* y gol-
euni disglaer *sydd* yn y cymmylau:
ond myned y mae y gwynt, a'u
puro hwynt.
22 O'r gogledd-wynt y daw [9] hin-
dda: *y mae* yn NUW ogoniant mwy
ofnadwy.
23 *Am* yr Hollalluog, [i] ni allwn ni
mo'i gael ef: [k] ardderchog *yw* o
nerth, a barn, a helaethrwydd cyf-
iawnder: ni chystuddia efe.
24 Am hynny yr ofna dynion ef:
nid edrych efe ar neb doeth eu
calon.

## PENNOD XXXVIII.

1 *Duw yn annog Job i atteb.* 4 *Duw, trwy ei alluog weithredoedd, yn dangos i Job ei anwybodaeth,* 31 *a'i wendid.*

YNA yr ARGLWYDD a attebodd
Job [a] allan o'r corwynt, ac a
ddywedodd,
2 [b] Pwy *yw* hwn sydd yn tywyllu
cynghor âg ymadroddion heb wyb-
odaeth?
3 [c] Gwregysa dy lwynau yn awr

Marginal references (left): [l] Es. 40. 13, 14. Rhuf. 11. 34. 1 Cor. 2. 16. [m] pen. 34. 13. [n] pen. 34. 10. [o] Ps. 90. 2. a 102. 24, 27. Heb. 1. 12. [6] Heb. *wraidd.* [p] pen. 37. 13. a 38. 23. [7] Heb. *yr esgyniad.* [2] Heb. *oleuni.* [3] Heb. *esgyll.* [a] Ps. 29. 3. a 68. 33. [b] pen. 5. 9. a 9. 10. a 36. 26. [c] Ps. 147. 16, 17. [4] Heb. *gawodydd o wlaw mawr.*

Cyn CRIST Cylch 1520.

Marginal references (right): [5] Heb. *ystafell.* [6] Heb. gwyntoedd *gwasgarog.* [d] pen. 38. 29, 30. Ps. 147. 17, 18. [7] Heb. *gwmmwl ei oleuni.* [8] Heb. *wialen.* [e] pen. 38. 26, 27. [f] 2 Sam. 21. 10. 1 Bren. 18. 45. [g] Exod. 9. 18, 23. 1 Sam. 12. 18, 19. Ezra 10. 9. pen. 36. 31. [h] Gen. 1. 6. [9] Heb. *aur.* [i] 1 Tim. 6. 16. [k] pen. 36. 5. [a] Felly Exod. 19. 16, 18. 1 Bren. 19. 11. Ezec. 1. 4. Nah. 1. 3. [b] pen. 42. 3. [c] pen. 40. 7.

Cyn CRIST Cylch 1520.

fel gwr; a [2]mynega i mi *yr hyn* a
ofynwyf i ti.
4 [d]Pa le yr oeddit ti pan sylfaen-
ais i y ddaear? mynega, os medri
ddeall.
5 Pwy a osododd ei mesurau hi,
os gwyddost? neu pwy a estynodd
linyn arni hi?
6 Ar ba beth y [3]sicrhawyd ei [4]syl-
feini hi? neu pwy a osododd ei
chongl-faen hi,
7 Pan gyd-ganodd sêr y bore, ac
y gorfoleddodd holl feibion DUW?
8 [e]A *phwy* a gauodd y môr â dor-
au, pan ruthrodd efe allan *megis*
*pe* deuai allan o'r groth?
9 Pan osodais i y cwmmwl yn wisg
iddo, a niwl tew yn rhwymyn iddo,
10 [f]Pan osodais fy ngorchymyn
arno, a *phan* osodais drosolion a
dorau,
11 Gan ddywedyd, Hyd yma y
deui, ac nid ym mhellach; ac yma
yr attelir ymchwydd dy donnau di.
12 A orchymynaist ti y bore er
dy ddyddiau? a ddangosaist ti i'r
wawr-ddydd ei lle,
13 I ymaflyd yn [5]eithafoedd y
ddaear, fel yr ysgydwer yr annuw-
iol allan o honi hi?
14 *Canys* hi a ymnewidia fel clai
y sêl; a hwy a safant fel dillad.
15 Ac attelir eu goleuni oddi
wrth yr annuwiol: [g]dryllir y braich
dyrchafedig.
16 A ddaethost ti i eigion y môr?
ac a rodiaist ti y'nghilfachau y
dyfnder?
17 A agorwyd [h]pyrth marwolaeth
i ti? neu a welaist ti byrth cysgod
angau?
18 A ystyriaist ti led y ddaear?
mynega, os adwaenost ti hi i gyd.
19 Pa ffordd *yr eir lle* y trig gol-
euni? a pha le *y mae* lle y tywyll-
wch,
20 Fel y cymmerit ef [6]hyd ei
derfyn, ac y medrit y llwybrau *i'w*
dŷ ef?
21 A wyddit ti yna y genid tydi?
ac *y byddai* rhifedi dy ddyddiau
yn fawr?
22 A aethost ti i [i]drysorau yr
eira? neu a welaist ti drysorau y
cenllysg,
23 [k]Y rhai a gedwais i hyd am-
ser cyfyngder, hyd ddydd ymladd a
rhyfel?
24 Pa ffordd yr ymranna goleuni,
*yr hwn* a wasgar y dwyrein-wynt
ar y ddaear?

[2] Heb. *gwna i mi wybod.*
[d] Ps. 104. 5. Diar. 8. 29. a 30. 4.
[3] Heb. *soddwyd.*
[4] Heb. *morteisiau,* neu, *ystolion.*
[e] Gen. 1. 9. Ps. 33. 7. a 104. 9. Diar. 8. 29.
[f] pen. 26. 10.
[5] Heb. *esgyll.*
[g] Ps. 10. 15.
[h] Ps. 9. 13.
[6] Neu, *yn,* neu, *wrth.*
[i] Ps. 135. 7.
[k] Exod. 9. 18. Jos. 10. 11. Es. 30. 30.

25 Pwy a rannodd ddyfrlle i'r llif-
ddyfroedd? a ffordd i fellt y taranau,
26 I wlawio ar y ddaear *lle* ni
*byddo* dyn; *ar* yr anialwch, *sydd*
heb ddyn ynddo?
27 [l]I ddigoni y *tir* diffaeth a gwŷllt,
ac i beri i gnwd o laswellt dyfu?
28 A oes dad i'r gwlaw? neu
pwy a genhedlodd ddefnynnau y
gwlith?
29 O groth pwy y daeth yr iâ
allan? a phwy a genhedlodd lwyd-
rew y nefoedd?
30 Y dyfroedd a guddir megis *â*
charreg, ac wyneb y dyfnder a [7]rew-
odd.
31 A rwymi di hyfrydwch [8][m]Plei-
ades? neu a ddattodi di rwymau
[9]Orïon?
32 A ddygi di allan [2]Mazzaroth
yn eu hamser? neu a dywysi [3]di
Arcturus a'i feibion?
33 A adwaenost ti [n]ordeiniadau y
nefoedd? a osodi di ei lywodraeth
ef ar y ddaear?
34 A ddyrchefi di dy lef ar y cwm-
mwl, fel y gorchuddio helaethrwydd
o ddyfroedd dydi?
35 A ddanfoni di fellt allan, fel yr
elont, ac y dywedont wrthyt, Wele
ni?
36 [o]Pwy a osododd ddoethineb
yn yr ymysgaroedd? neu pwy a
roddodd ddeall i'r galon?
37 Pwy a gyfrif y cymmylau trwy
ddoethineb? a phwy a all [4]attal
costrelau y nefoedd,
38 Pan [5]dröer y llwch yn dom, fel
y glyno y priddellau ynghyd?
39 [p]A elli di hela ysglyfaeth i'r
llew? neu a elli di lenwi [6]gwangc
cenawon y llewod,
40 Pan ymgrymmant yn *eu* lloch-
esau, pan eisteddant mewn ffau i
gynllwyn?
41 [q]Pwy a ddarpar i'r gigfran ei
bwyd? pan lefo ei chywion ar
DDUW, gwibiant o eisieu bwyd.

## PENNOD XXXIX.

1 *Am y geifr gwylltion, a'r ewigod;* 5 *yr asyn gwŷllt,* 9 *yr unicorn,* 13 *y paun, a'r estrys;* 19 *y march,* 26 *y gwalch,* 27 *a'r eryr.*

AWYDDOST ti yr amser i eifr
gwylltion y creigiau lydnu? a
fedri di wylied *yr amser* [a]y bwrw
yr ewigod loi?
2 A gyfrifi di y misoedd a gyf-
lawnant hwy? ac a wyddost ti yr
amser y llydnant?
3 Ymgrymmant, bwriant eu llydn-
od, *ac* ymadawant â'u gofid.

Cyn CRIST Cylch 1520.

[l] Ps. 107. 35.
[7] Heb. *ddaliwyd.*
[8] Neu, *y saith seren?* Heb. *Cimah?*
[m] pen. 9. 9. Amos 5. 8.
[9] Heb. *Cesil?*
[2] Neu, *y deuddeg arwydd.*
[3] Heb. *di hwynt Arcturus a'i feibion?*
[n] Jer. 31. 35.
[o] pen. 32. 8. Preg. 2. 26.
[4] Heb. *beri i gostrelau y nefoedd orwedd.*
[5] Heb. *dywallter.*
[p] Ps. 104. 21.
[6] Heb. *bywyd.*
[q] Ps. 147. 9. Matt. 6. 26.
[a] Ps. 29. 9.

Cyn CRIST Cylch 1520.

4 Eu llydnod a gryfhâ, cynnydd-
ant [2]yn y maes: ânt allan, ac ni
ddychwelant attynt hwy.
5 Pwy a ollyngodd yr asyn gwŷllt
yn rhydd? neu pwy a ddattododd
rwymau yr asyn gwŷllt?
6 [b]Yr hwn y gosodais yr anialwch
yn dŷ iddo, a'r [3]diffaethwch yn
drigfa iddo.
7 Efe a chwardd am *ben* lliaws
tref: [c]ni wrendy ar lais y [4]geilwad.
8 Cilfachau y mynyddoedd *yw* ei
borfa ef, ac efe a chwilia am bob
glaswelltyn.
9 A gyttuna yr unicorn i'th was-
anaethu di? a erys efe wrth dy
bresebau di?
10 A rwymi di unicorn â'i did
mewn rhych? a lyfna efe y dolydd
ar dy ol di?
11 A ymddiriedi wrtho, am fod ei
gryfder yn fawr? a adewi di dy
lafur iddo?
12 A goeli di ef, y dwg efe dy
had di drachefn, ac y casgl efe ef
i'th lawr-dyrnu di?
13 *A roddaist ti* adenydd hyfryd
i'r peunod? neu [5]adenydd a phlu
i'r estrys?
14 Yr hon a âd ei hwyau yn y
ddaear, ac a'u cynhesa yn y llwch;
15 Ac y mae hi yn gollwng dros
gôf y gallai droed eu dryllio hwynt,
neu anifail y maes eu sathru.
16 Caled yw hi wrth ei chywion,
fel pe na *byddent* eiddi hi: ei
gwaith hi *sydd* ofer, heb ofn;
17 Oblegid na roddes DUW iddi
ddoethineb, ac na chyfrannodd iddi
ddeall.
18 Yr amser yr ymgodo hi yn
uchel, hi a ddïystyra y march a'i
farchog.
19 A roddaist ti gryfder i farch?
neu a [6]ddysgaist iddo weryru?
20 A ddychryni di ef fel ceiliog
rhedyn? dychryn *ydyw* ardderch-
owgrwydd ei ffroen ef.
21 *Ei draed ef* a gloddiant yn y
dyffryn, ac efe a lawenycha yn *ei*
gryfder: efe a â allan i gyfarfod
arfau.
22 Efe a ddïystyra arswyd, ac ni
ddychryna efe; ac ni ddychwel yn
ei ol rhag y cleddyf.
23 Y cawell saethau a drystia yn
ei erbyn, y ddisglaer waywffon a'r
darian.
24 Efe a lwngc y ddaear gan greu-
londeb a chynddaredd: ac ni chred
mai llais yr udgorn *yw*.

[2] Neu, *gan ŷd.*
[b] pen. 24. 5. Jer. 2. 24. Hos. 8. 9.
[3] Heb. *halen-dir.*
[c] pen. 3. 18.
[4] Heb. *cymhellwr.*
[5] Neu, *blu y ciconia a'r estrys?*
[6] *wisgaist ti ei wddf ef â tharan?*

25 Efe a ddywed ym mhlith yr
udgyrn, Ha, ha; ac a arogla o bell
ryfel, twrf tywysogion, a'r bloeddio.
26 Ai trwy dy ddoethineb di yr
eheda y gwalch, *ac* y lleda efe ei
adenydd tu a'r dehau?
27 Ai wrth dy [7]orchymyn di yr
ymgyfyd yr eryr, ac [d]y gwna efe ei
nyth yn uchel?
28 Y trig efe ac yr erys *mewn*
craig; *ac* ar ysgythredd y graig,
a'r lle cadarn?
29 Oddi yno y chwilia am fwyd;
ei lygaid a ganfyddant o bell.
30 Ei gywion hefyd a sugnant
waed: a [e]lle *y byddo* celanedd, yno
*y bydd* efe.

## PENNOD XL.

1 *Job yn ymostwng ger bron Duw.* 6 *Duw yn ei gyffrôi ef i ddangos ei gyfiawnder, a'i allu, a'i ddoethineb.* 15 *Am y behemoth.*

YR ARGLWYDD hefyd a atteb-
odd Job, ac a ddywedodd,
2 Ai dysgeidiaeth yw ymryson â'r
Hollalluog? a argyhoeddo DDUW,
attebed i hynny.
3 ¶ A Job a attebodd yr AR-
GLWYDD, ac a ddywedodd,
4 Wele, gwael ydwyf; pa beth a
attebaf i ti? [a]mi a osodaf fy llaw
ar fy ngenau.
5 Dywedais unwaith; ond nid at-
tebaf: ïe, ddwywaith; ond ni chwan-
egaf.
6 ¶ [b]A'r ARGLWYDD a attebodd
Job allan o'r corwynt, ac a ddy-
wedodd,
7 [c]Gwregysa yn awr dy lwynau
fel gwr; a [d]myfi a ofynaf i ti, myn-
ega dithau i mi.
8 [e]A wnei di fy marn i yn ofer? a
ferni di fi yn anghyfiawn, i'th gyf-
iawnhâu dy hun?
9 A oes i ti fraich fel i DDUW?
neu a wnei di daranau â'th lais fel
yntau?
10 [f]Ymdrwsia yn awr â mawredd
ac â godidowgrwydd, ac ymwisg â
gogoniant ac â phrydferthwch.
11 Gwasgara gynddaredd dy ddig-
ofaint; ac edrych ar bob balch, a
thafl ef i lawr.
12 Edrych ar bob balch, a gos-
twng ef; a mathra yr annuwiol yn
eu lle.
13 Cuddia hwynt ynghyd yn y
pridd, *a* rhwym eu hwynebau hwynt
mewn *lle* cuddiedig.
14 Yna hefyd myfi a addefaf i ti,
y gall dy ddeheulaw dy achub.
15 ¶ Yn awr wele [2]y behemoth,

Cyn CRIST Cylch 1520.

[7] Heb. *enau.*
[d] Jer. 49. 16. Obad. 4.
[e] Matt. 24. 28. Luc 17. 37.
[a] Ps. 39. 9.
[b] pen. 38. 1.
[c] pen. 38. 3.
[d] pen. 42. 4.
[e] Ps. 51. 4. Rhuf. 3. 4.
[f] Ps. 104. 1.
[2] Neu, *yr elephant.*

c Ps. 87. 6.

30 *Eu* had a'i gwasanaetha ef:
[c] cyfrifir ef i'r ARGLWYDD yn gen-
hedlaeth.

d Edrych Rhuf. 3. 21, 22.

31 Deuant, ac [d] adroddant ei gyf-
iawnder ef i'r bobl a enir, mai efe a
wnaeth *hyn.*

## PSALM XXIII.

*Hyder Dafydd ar ras Duw.*

Psalm Dafydd.

a Esa. 40. 11. Jer. 23. 4. Ezec.34.23. Ioan 10. 11. 1 Petr 2.25. Dat. 7. 17. b Phil. 4. 19. 2 Heb. *llonyddwch.* c Ps. 5. 8. a 31. 3.

YR ARGLWYDD *yw* [a] fy Mugail;
[b] ni bydd eisieu arnaf.
2 Efe a wna i mi orwedd mewn
porfeydd gwelltog: efe a'm tywys
ger llaw y dyfroedd [2] tawel.
3 Efe a ddychwel fy enaid: [c] efe
a'm harwain ar hyd llwybrau cyf-
iawnder er mwyn ei enw.

d Job 3. 5. a 10. 21, 22. a 24. 17. Ps. 44. 19. e Ps. 3. 6. a 118. 6.

4 Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn [d] cys-
god angau, [e] nid ofnaf niwed: canys
*yr wyt* ti gyd â mi; dy wïalen a'th
ffon a'm cysurant.

f Ps. 104. 15. 3 Heb. *braseaist.*

5 [f] Ti a arlwyi ford ger fy mron
y'ngŵydd fy ngwrthwynebwyr: [3] ir-
aist fy mhen âg olew; fy phïol
sydd lawn.

4 Heb. *dros hir ddyddiau.*

6 Daioni a thrugaredd yn ddïau
a'm canlynant holl ddyddiau fy
mywyd: a phreswyliaf yn nhŷ yr
ARGLWYDD [4] yn dragywydd.

## PSALM XXIV.

1 *Arglwyddiaeth Duw yn y byd hwn.* 3 *Dinasyddion ei ysbrydol deyrnas ef.* 7 *Cynghor i'w dderbyn ef.*

Psalm Dafydd.

1017.
a Exod. 9. 29. a 19. 5. Deut. 10. 14. Job 41. 11. Ps. 50. 12. 1 Cor. 10. 26, 28. b Job 38. 6. Ps. 104. 5. a 136. 6. 2 Petr 3. 5. c Ps. 15. 1. d Es. 33. 15, 16. 2 Heb. *enaid.*

EIDDO [a] yr ARGLWYDD y ddae-
ar, a'i chyflawnder; y byd, ac a
breswylia ynddo.
2 [b] Canys efe a'i seiliodd ar y mor-
oedd, ac a'i sicrhaodd ar yr afonydd.
3 [c] Pwy a esgyn i fynydd yr AR-
GLWYDD? a phwy a saif yn ei le
sanctaidd ef?
4 [d] Y glân *ei* ddwylaw, a'r pur *ei*
galon; yr hwn ni ddyrchafodd ei
[2] feddwl at wagedd, ac ni thyngodd
i dwyllo.
5 Efe a dderbyn fendith gan yr
ARGLWYDD, a chyfiawnder gan
DDUW ei iachawdwriaeth.

e Ps. 27. 8. 3 Neu, O Dduw Jacob.

6 Dyma genhedlaeth y rhai a'i
ceisiant ef, y rhai [e] a geisiant dy
wyneb di, [3] O Jacob. Selah.
7 O byrth, dyrchefwch eich pen-
nau; ac ymddyrchefwch, ddrysau
tragywyddol; a Brenhin y gogon-
iant a ddaw i mewn.
8 Pwy *yw* y Brenhin gogoniant
hwn? yr ARGLWYDD nerthol a chad-
arn, yr ARGLWYDD cadarn mewn
rhyfel.
9 O byrth, dyrchefwch eich pen-
nau; ac ymddyrchefwch, ddrysau
tragywyddol; a Brenhin y gogon-
iant a ddaw i mewn.
10 Pwy yw y Brenhin gogoniant
hwn? ARGLWYDD y lluoedd, efe *yw*
Brenhin y gogoniant. Selah.

## PSALM XXV.

1 *Hyder Dafydd yn ei weddi.* 7 *Y mae yn gweddïo am faddeuant pechodau,* 16 *ac am gymmorth mewn trallod.*

*Psalm* Dafydd.

a Ps. 86. 4. a 143. 8. b Ps. 22. 5. a 31. 1. a 34. 8. Es. 28. 16. a 49. 23. Rhuf. 10. 11. c Ps. 13. 4.

ATTAT [a] ti, O ARGLWYDD, y dyrch-
afaf fy enaid.
2 O fy NUW, [b] ynot ti yr ymddir-
iedais; na'm gwaradwydder; [c] na or-
foledded fy ngelynion arnaf.
3 Ië, na waradwydder neb sydd yn
disgwyl wrthyt ti: gwaradwydder y
rhai a droseddant heb achos.

d Exod. 33. 13. Ps. 5. 8. a 27. 11. a 86. 11. a 119. a 143. 8, 10.

4 [d] Pâr i mi wybod dy ffyrdd, O
ARGLWYDD: dysg i mi dy lwybrau.
5 Tywys fi yn dy wirionedd, a
dysg fi: canys ti *yw* DUW fy iach-
awdwriaeth; wrthyt ti y disgwyliaf
ar hyd y dydd.

e Ps. 103. 17. a 106. 1. a 107. 1. Jer. 33. 11. 2 Heb. *ymysgaroedd.* f Job 13. 26. a 20. 11. Jer. 3. 25.

6 Cofia, ARGLWYDD, [e] dy [2] dostur-
iaethau, a'th drugareddau: canys
erioed *y maent* hwy.
7 Na chofia [f] bechodau fy ieuengc-
tid, na'm camweddau: yn ol dy dru-
garedd meddwl di am danaf, er
mwyn dy ddaioni, ARGLWYDD.
8 Da ac uniawn *yw* yr ARGLWYDD:
o herwydd hynny y dysg efe bech-
aduriaid yn y ffordd.
9 Y rhai llariaidd a hyfforddа efe
mewn barn: a'i ffordd a ddysg efe
i'r rhai gostyngedig.
10 Holl lwybrau yr ARGLWYDD
*ydynt* drugaredd a gwirionedd, i'r
rhai a gadwant ei gyfammod a'i
dystiolaethau ef.

g Edrych Rhuf. 5. 20.

11 Er mwyn dy enw, ARGLWYDD,
maddeu fy anwiredd: [g] canys mawr
*yw.*
12 Pa wr *yw* efe sydd yn ofni yr
ARGLWYDD? efe a'i dysg ef yn y
ffordd a ddewiso.

3 Heb. *lettya.* h Ps. 37. 11, 22, 29. i Diar. 3. 32. Edrych Ioan 7. 17. a 15. 15. 4 Heb. *i beri iddynt wybod.*

13 Ei enaid ef a [3] erys mewn da-
ioni: [h] a'i had a etifedda y ddaear.
14 [i] Dirgelwch yr ARGLWYDD *sydd*
gyd â'r rhai a'i hofnant ef: a'i gyfam-
mod hefyd, [4] i'w cyfarwyddo hwynt.
15 Fy llygaid *sydd* yn wastad ar
yr ARGLWYDD: canys efe a ddwg
fy nhraed allan o'r rhwyd.
16 Tro attaf, a thrugarhâ wrthyf:
canys unig a thlawd *ydwyf.*
17 Gofidiau fy nghalon a hel-

aethwyd: dwg fi allan o'm cyfyng-
derau.
18 Gwel fy nghystudd a'm helbul,
a maddeu fy holl bechodau.
19 Edrych ar fy ngelynion; canys
amlhasant; â chasineb traws *hefyd*
y'm casasant.
20 Cadw fy enaid, ac achub fi:
na'm gwaradwydder; canys ymddir-
iedais ynot.
21 Cadwed perffeithrwydd ac un-
iondeb fi: canys yr wyf yn disgwyl
wrthyt.
22 O DDUW, gwared Israel o'i holl
gyfyngderau.

## PSALM XXVI.

*Dafydd yn cyrchu at Dduw, mewn hyder o'i ddiniweidrwydd.*

*Psalm* Dafydd.

[a Ps. 7. 8.] BARN [a] fi, ARGLWYDD; canys
rhodiais yn fy mherffeith-
rwydd; ymddiriedais hefyd yn yr
ARGLWYDD: *am hynny* ni lithraf.
[b Ps. 7. 9. a 17. 3. a 66. 10. a 139. 23. Zech. 13. 9.] 2 [b] Hola fi, ARGLWYDD, a phrawf
fi: chwilia fy arennau a'm calon.
3 Canys dy drugaredd *sydd* o flaen
fy llygaid: ac mi a rodiais yn dy
wirionedd.
[c Ps. 1. 1. Jer. 15. 17.] 4 [c] Nid eisteddais gyd â dynion
coegion; a chyd â'r rhai trofaus
nid âf.
5 Caseais gynnulleidfa y drygion-
us; a chyd â'r annuwiolion nid eis-
teddaf.
[d Edrych Exod. 30. 19, 20. Ps. 73. 13.] 6 [d] Golchaf fy nwylaw mewn di-
niweidrwydd: a'th allor, O AR-
GLWYDD, a amgylchynaf:
7 I gyhoeddi â llef clodforedd, ac
i fynegi dy holl ryfeddodau.
[e Ps. 27. 4.] 8 ARGLWYDD, [e] hoffais drigfan dy
[2 Neu, tabernacl.] dŷ, a lle [2] preswylfa dy ogoniant.
[f Edrych 1 Sam. 25. 29. Ps. 28. 3.] 9 [f] Na chasgl fy enaid gyd â phech-
aduriaid, na'm bywyd gyd â dynion
gwaedlyd:
10 Y rhai *y mae* ysgelerder yn eu
dwylaw, a'u deheulaw yn llawn
gwobrau.
11 Eithr mi a rodiaf yn fy mher-
ffeithrwydd: gwared fi, a thrugarhâ
wrthyf.
[g Ps. 40. 2.] 12 [g] Fy nhroed sydd yn sefyll ar yr
uniawn: yn y cynnulleidfaoedd y'*th*
fendithiaf, *O* ARGLWYDD.

## PSALM XXVII.

1 *Dafydd yn attegu ei ffydd, trwy allu Duw,* 4 *trwy ei serch i wasanaeth Duw,* 9 *a thrwy weddi.*

*Psalm* Dafydd.

[a Ps. 84. 11. Es. 60. 19, 20. Mic. 7. 8.] YR [a] ARGLWYDD *yw* fy ngoleu-
ni a'm hiachawdwriaeth; rhag
pwy yr ofnaf? [b] yr ARGLWYDD *yw* [b Ps. 118. 6.]
nerth fy mywyd; rhag pwy y dy-
chrynaf?
2 Pan nesaodd y rhai drygionus,
*sef* fy ngwrthwynebwyr a'm gelyn-
ion, i'm herbyn, i fwytta fy nghnawd,
hwy a dramgwyddasant ac a syrth-
iasant.
3 [c] Pe gwersyllai llu i'm herbyn, [c Ps. 3. 6.]
nid ofna fy nghalon: pe cyfodai câd
i'm herbyn, yn hyn mi *a fyddaf*
hyderus.
4 [d] Un *peth* a ddeisyfais i gan yr [d Ps. 26. 8.]
ARGLWYDD, hynny a geisiaf; *sef*
caffael trigo yn nhŷ yr ARGLWYDD
holl ddyddiau fy mywyd, i edrych
[e] ar [2] brydferthwch yr ARGLWYDD, [e Ps. 90. 17. 2 Neu, hyfrydwch.]
ac i ymofyn yn ei deml.
5 Canys [f] yn y dydd blin y'm cudd- [f Ps. 31. 20. a 83. 3. a 91. 1.]
ia o fewn ei babell: yn nirgelfa ei
babell y'm cuddia; ar graig y'm
cyfyd i.
6 Ac yn awr [g] y dyrcha efe fy [g Ps. 3. 3.]
mhen goruwch fy ngelynion o'm
hamgylch: am hynny yr aberthaf
yn ei babell ef ebyrth [3] gorfoledd; [3 Heb. bloedd.]
canaf, ïe, canmolaf yr ARGLWYDD.
7 Clyw, O ARGLWYDD, fy llefer-
ydd *pan* lefwyf: trugarhâ hefyd
wrthyf, a gwrando arnaf.
8 *Pan ddywedaist,* [h] Ceisiwch fy [h Ps. 24. 6. a 105. 4.]
wyneb; fy nghalon a ddywedodd
wrthyt, Dy wyneb a geisiaf, O AR-
GLWYDD.
9 [i] Na chuddia dy wyneb oddi [i Ps. 69. 17.]
wrthyf; na fwrw ymaith dy was
mewn sorriant: fy nghymmorth
fuost; na âd fi, ac na wrthod fi, O
DDUW fy iachawdwriaeth.
10 [k] Pan yw fy nhad a'm mam yn [k Es. 49. 15.]
fy ngwrthod, yr ARGLWYDD a'm
[4] derbyn. [4 Heb. casgl.]
11 [l] Dysg i mi dy ffordd, ARGLWYDD, [l Ps. 25. 4. a 86. 11. a 119. 33.]
ac arwain fi ar hyd llwybrau union-
deb, o herwydd fy [5] ngelynion. [5 Heb. ngwylwyr.]
12 Na ddyro fi i fynu i ewyllys fy
ngelynion: canys gau dystion, a
*rhai* a adroddant drawsder, a gyf-
odasant i'm herbyn.
13 *Diffygiaswn,* pe na chredaswn
weled daioni yr ARGLWYDD [m] yn [m Ps. 56. 13. a 116. 9. a 142. 5.]
nhir y rhai byw.
14 [n] Disgwyl wrth yr ARGLWYDD: [n Ps. 31. 24. a 130. 5. Es. 25. 9. Hab. 2. 3.]
ymwrola, ac efe a nertha dy gal-
on: disgwyl, meddaf, wrth yr AR-
GLWYDD.

## PSALM XXVIII.

1 *Dafydd yn gweddïo yn daer yn erbyn ei elynion;* 6 *yn bendithio Duw,* 9 *ac yn gweddïo dros y bobl.*

*Psalm* Dafydd.

ARNAT ti, ARGLWYDD, y gwaedd-
af; fy nghraig, [a] na ddistawa
wrthyf: [b] rhag, *o* thewi wrthyf, i
mi fod yn gyffelyb i rai yn disgyn
i'r pwll.
2 Erglyw lef fy ymbil pan waedd-
wyf arnat, pan ddyrchafwyf fy nwy-
law [c] tu ag at [2] dy gafell sanctaidd.
3 [d] Na thyn fi gyd â'r annuwiolion,
a chyd â gweithredwyr anwiredd;
[e] y rhai a lefarant heddwch wrth eu
cymmydogion, a drwg yn eu calon.
4 [f] Dyro iddynt yn ol eu gweithred,
ac yn ol drygioni eu dychymmyg-
ion: dyro iddynt yn ol gweithred-
oedd eu dwylaw; tâl iddynt eu
haeddedigaethau.
5 Am [g] nad ystyriant weithredoedd
yr ARGLWYDD, na gwaith ei ddwy-
law ef, y dinystria efe hwynt, ac nis
adeilada hwynt.
6 Bendigedig *fyddo* yr ARGLWYDD:
canys clybu lef fy ngweddïau.
7 Yr ARGLWYDD *yw* fy nerth, a'm
tarian; ynddo ef yr ymddiriedodd
fy nghalon, a myfi a gynnorthwy-
wyd: o herwydd hyn y llawenych-
odd fy nghalon, ac ar fy nghân y
clodforaf ef.
8 Yr ARGLWYDD *sydd* nerth i'r
cyfryw [3] rai, a chadernid iachawd-
wriaeth ei Enneiniog *yw* efe.
9 Cadw dy bobl, a bendithia dy
etifeddiaeth: [4] portha hwynt hefyd,
a dyrcha hwynt yn dragywydd.

[a] Ps. 83. 1.
[b] Ps. 143. 7.
[c] Ps. 138. 2.
[2] Heb. *gafell dy gyssegr.*
[d] Ps. 26. 9.
[e] Ps. 12. 2. a 55. 21. a 62. 4. Jer. 9. 8.
[f] 2 Tim. 4. 14. Dat. 18. 6.
[g] Job 34. 27.
[3] Neu, *un.*
[4] Neu, *llywodraetha.*

## PSALM XXIX.

1 *Dafydd yn annog tywysogion i roi gogoniant i Dduw:* 3 *o herwydd ei fawr allu,* 11 *a'i amddiffyn i'w bobl.*

*Psalm* Dafydd.

MOESWCH [a] i'r ARGLWYDD, chwi
*feibion* cedyrn, moeswch i'r
ARGLWYDD ogoniant a nerth.
2 Moeswch i'r ARGLWYDD ogon-
iant ei enw: addolwch yr AR-
GLWYDD [2] ym mhrydferthwch *ei*
sancteiddrwydd.
3 Llef yr ARGLWYDD *sydd* ar y
dyfroedd: [b] DUW y gogoniant a
darana; yr ARGLWYDD *sydd* ar y
dyfroedd mawrion.
4 Llef yr ARGLWYDD *sydd* mewn
grym: llef yr ARGLWYDD *sydd*
mewn prydferthwch.
5 Llef yr ARGLWYDD *sydd* yn
dryllio y cedrwydd: ïe, dryllia yr
ARGLWYDD gedrwydd Libanus.
6 Efe a wna iddynt lammu fel llo;
Libanus a [c] Sirion fel llwdn unicorn.
7 Llef yr ARGLWYDD a [3] wasgara y
fflammau tân.
8 Llef yr ARGLWYDD a wna i'r
anialwch [4] grynu: yr ARGLWYDD a
wna i anialwch Cades grynu.
9 Llef yr ARGLWYDD a wna [d] i'r
ewigod lydnu, ac a ddynoetha y
coedydd: ac yn ei deml [5] pawb a
draetha *ei* ogoniant *ef.*
10 Yr ARGLWYDD sydd yn eistedd
ar y llifeiriant; ïe, [e] yr ARGLWYDD
a eistedd yn Frenhin yn dragy-
wydd.
11 Yr ARGLWYDD a ddyry nerth
i'w bobl: yr ARGLWYDD a fendithia
ei bobl â thangnefedd.

[a] 1 Chron. 16. 28, 29. Ps. 96. 7, 8, 9.
[2] Neu, *yn ei brydferth gyssegr.*
[b] Job 37. 4, 5.
[c] Deut. 3. 9.
[3] Neu, *dyrr allan.*
[4] Neu, *ofidio.*
[d] Job 39. 1, 2, 3.
[5] Neu, *y cwbl o honi.*
[e] Ps. 10. 16.

## PSALM XXX.

1 *Dafydd yn moli Duw am ei ymwared;* 4 *yn annog eraill i'w glodfori, wrth weled fel yr oedd Duw yn gwneuthur âg ef.*

Psalm *neu* Gân *o* [a] gyssegriad tŷ Dafydd.

MAWRYGAF di, O ARGLWYDD:
canys dyrchefaist fi, ac ni la-
wenheaist fy ngelynion o'm plegid.
2 ARGLWYDD fy NUW, llefais ar-
nat, a thithau a'm hiacheaist.
3 ARGLWYDD, [b] dyrchefaist fy enaid
o'r bedd: cedwaist fi yn fyw, rhag
disgyn o honof i'r pwll.
4 [c] Cenwch i'r ARGLWYDD, ei saint
ef; a chlodforwch wrth goffadwr-
iaeth ei sancteiddrwydd ef.
5 Canys [d] ennyd fechan *y bydd* yn
ei lid; yn ei foddlonrwydd *y mae*
bywyd: [2] dros brydnawn yr erys
wylofain, ac erbyn y bore *y bydd*
[3] gorfoledd.
6 [e] Ac mi a ddywedais yn fy llwydd-
iant, Ni'm syflir yn dragywydd.
7 O'th ddaioni, ARGLWYDD, y go-
sodaist gryfder yn fy mynydd: [f] cudd-
iaist dy wyneb, *a* bûm helbulus.
8 Arnat ti, ARGLWYDD, y llefais,
ac â'r ARGLWYDD yr ymbiliais.
9 Pa fudd *sydd* yn fy ngwaed, pan
ddisgynwyf i'r ffos? [g] a glodfora y
llwch di? a fynega efe dy wirion-
edd?
10 Clyw, ARGLWYDD, a thrugar-
hâ wrthyf: ARGLWYDD, bydd gyn-
northwywr i mi.
11 [h] Troaist fy ngalar yn llawen-
ydd i mi: dïosgaist fy sachwisg, a
gwregysaist fi â llawenydd;
12 Fel y cano [4] *fy* ngogoniant i ti,
ac na thawo. O ARGLWYDD fy NUW,
yn dragywyddol y'th foliannaf.

[a] Deut. 20. 5.
1042.
[b] Ps. 86. 13.
[c] 1 Chron. 16. 4. Ps. 97. 12.
[d] Ps. 103. 9. Es. 26. 20. a 54. 7, 8. 2 Cor. 4. 17.
[2] Heb. *yr hwyr.*
[3] Heb. *cân.*
[e] Job 29. 18.
[f] Ps. 104. 29.
[g] Ps. 6. 5. a 88. 11. a 115. 17.
[h] 2 Sam. 6. 14. Es. 61. 3.
[4] Hynny yw, fy *nhafod,* neu, fy *enaid.* Edrych Gen. 49. 6. Ps. 16. 9. a 57. 8.

## PSALM XXXI.

1 *Dafydd yn dangos ei ymddiried yn Nuw, ac yn gofyn ei help ef;* 7 *yn ymlawenychu yn ei drugaredd ef;* 9 *yn gweddïo yn ei adfyd,* 19 *ac yn moliannu Duw am ei ddaioni.*

I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

YNOT [a] ti, ARGLWYDD, yr ym-
ddiriedais: na'm gwaradwydder
yn dragywydd: [b] gwared fi yn dy
gyfiawnder.
2 Gogwydda dy glust attaf; gwar-
ed fi ar frys: bydd i mi yn graig
[2] gadarn, yn dŷ amddiffyn i'm cadw.
3 Canys fy nghraig a'm castell
*ydwyt:* gan hynny [c] er mwyn dy
enw tywys fi, ac arwain fi.
4 Tyn fi allan o'r rhwyd a gudd-
iasant i mi: canys ti *yw* fy nerth.
5 [d] I'th law y gorchymynaf fy ys-
pryd: gwaredaist fi, O ARGLWYDD
DDUW y gwirionedd.
6 Caseais y rhai [e] sydd yn dal ar
ofer-wagedd: minnau a obeithiaf
yn yr ARGLWYDD.
7 Ymlawenhâf ac ymhyfrydaf yn
dy drugaredd: canys gwelaist fy
adfyd; adnabuost fy enaid mewn
cyfyngderau;
8 Ac ni warchaeaist fi yn llaw y
gelyn; *ond* [f] gosodaist fy nhraed
mewn ehangder.
9 Trugarhâ wrthyf, ARGLWYDD;
canys cyfyng *yw* arnaf: [g] dadwin-
odd fy llygad gan ofid, *ïe,* fy enaid
a'm bol.
10 Canys fy mywyd a ballodd gan
ofid, a'm blynyddoedd gan ochain:
fy nerth a ballodd o herwydd fy an-
wiredd, [h] a'm hesgyrn a bydrasant.
11 [i] Yn warthrudd yr ydwyf ym
mysg fy holl elynion, a *hynny* [k] yn
ddirfawr ym mysg fy nghymmydog-
ion; ac yn ddychryn i'r rhai a'm
hadwaenant: y rhai a'm gwelent
allan, a gilient oddi wrthyf.
12 [l] Anghofiwyd fi fel un marw
allan o feddwl: yr ydwyf fel llestr
methedig.
13 [m] Canys clywais ogan llawer-
oedd; [n] dychryn *oedd* o bob parth:
pan gyd-ymgynghorasant yn fy er-
byn, y bwriadasant fy nïeneidio.
14 Ond mi a obeithiais ynot ti,
ARGLWYDD: dywedais, Fy NUW
*ydwyt.*
15 Yn dy law di *y mae* fy amser-
au: gwared fi o law fy ngelynion,
ac oddi wrth fy erlidwyr.
16 [o] Llewyrcha dy wyneb ar dy
was: achub fi er mwyn dy dru-
garedd.
17 ARGLWYDD, [p] na waradwydder
fi; canys gelwais arnat: gwarad-
wydder yr annuwiolion, [q] torrer
hwynt i'r bedd.
18 [r] Gosteger y gwefusau celwydd-

a Ps. 22. 5. a 25. 2. a 71. 1. Es. 49. 23. b Ps. 143. 1. 2 Heb. *cadernid.* c Ps. 23. 3. a 25. 11. d Luc 23. 46. Act. 7. 59. e Jonah 2. 8. f Ps. 4. 1. a 18. 19. g Ps. 6. 7. h Ps. 32. 3. a 102. 3. i Ps. 41. 8. Es. 53. 4. k Job 19. 13. Ps. 38. 11. a 88. 8, 18. l Ps. 88. 4, 5. m Jer. 20. 10. n Jer. 6. 25. a 20. 3. Galar. 2. 22. o Num. 6. 25, 26. Ps. 4. 6. a 67. 1. p Ps. 25. 2. q 1 Sam. 2. 9. r Ps. 12. 3.

og, y rhai [s] a ddywedant yn galed,
trwy falchder a dïystyrwch, yn er-
byn y cyfiawn.
19 [t] Mor fawr *yw* dy ddaioni a rodd-
aist i gadw i'r sawl a'th ofnant; *ac*
a wnaethost i'r rhai a ymddiriedant
ynot, ger bron meibion dynion!
20 [u] Cuddi hwynt yn nirgelfa dy
wyneb rhag balchder dynion: [x] cuddi
hwynt mewn pabell rhag cynnen
tafodau.
21 Bendigedig *fyddo* yr AR-
GLWYDD: canys [y] dangosodd yn
rhyfedd ei garedigrwydd i mi mewn
dinas [3] gadarn.
22 Canys [z] mi a ddywedais yn fy
ffrwst, [a] Fe'm bwriwyd allan o'th
olwg: er hynny ti a wrandewaist
lais fy ngweddïau pan lefais arnat.
23 [b] Cerwch yr ARGLWYDD, ei holl
saint ef: yr ARGLWYDD a geidw y
ffyddloniaid, ac a dâl yn ehelaeth
i'r neb a wna falchder.
24 [c] Ymwrolwch, ac efe a gryfhâ
eich calon, chwychwi oll y rhai yd-
ych yn gobeithio yn yr ARGLWYDD.

## PSALM XXXII.

1 *Ym maddeuant pechodau y mae dedwyddwch yn sefyll.* 3 *Bod cyfaddef pechodau yn esmwythâu ar y gydwybod.* 8 *Addewidion Duw yn dwyn llawenydd.*

*Psalm* Dafydd, [2] er athrawiaeth.

GWYN *ei* fyd *y neb* [a] y madd-
euwyd *ei* drosedd, ac y cudd-
iwyd *ei* bechod.
2 Gwŷn *ei* fyd y dyn ni chyfrif yr
ARGLWYDD iddo anwiredd, ac [b] ni
*byddo* dichell yn ei yspryd.
3 Tra y tewais, heneiddiodd fy es-
gyrn, gan fy rhuad ar hyd y dydd.
4 Canys trymhaodd dy law arnaf
ddydd a nos: fy irder a dröwyd yn
sychder haf. Selah.
5 Addefais fy mhechod wrthyt,
a'm hanwiredd ni chuddiais: [c] dy-
wedais, Cyffesaf yn fy erbyn fy hun
fy anwireddau i'r ARGLWYDD; a thi
a faddeuaist anwiredd fy mhechod.
Selah.
6 Am hyn [d] y gweddïa pob duwiol
arnat ti yn [3] yr amser y'th geffir: yn
ddïau yn llifeiriant dyfroedd mawr-
ion, ni chânt nesâu atto ef.
7 [e] Ti *ydwyt* loches i mi; cedwi fi
rhag ing: amgylchyni fi â chaniad-
au ymwared. Selah.
8 Cyfarwyddaf di, a dysgaf di yn
y ffordd yr elych: â'm llygad arnat
*y'th* gynghoraf.
9 [f] Na fyddwch fel march, *neu* ful,
heb ddeall: yr hwn y mae rhaid

s 1 Sam. 2. 3. Ps. 94. 4. Judas 15. t Es. 64. 4. 1 Cor. 2. 9. u Ps. 27. 5. a 32. 7. x Job 5. 21. y Ps. 17. 7. 3 Neu, *gaerog.* z 1 Sam. 23. 26. Ps. 116. 11. a Es. 38. 11, 12. Galar. 3. 54. Jonah 2. 4. b Ps. 34. 9. c Ps. 27. 14. 2 Heb. *Maschil.* a Ps. 85. 2. Rhuf. 4. 6, 7, 8. b Ioan 1. 47. c Diar. 28. 13. Es. 65. 24. 1 Ioan 1. 9. d Es. 55. 6. Ioan 7. 34. 3 Heb. *amser cyffael.* e Ps. 9. 9. a 27. 5. a 31. 20. a 119. 114. f Diar. 26. 3. Iago 3. 3.

attal ei ên â genfa, ac â ffrwyn,
rhag ei ddynesâu attat.
g Diar. 13. 21. — 10 [g]Gofidiau lawer [4]*fydd* i'r an-
4 sydd. — nuwiol: ond y neb a ymddiriedo
yn yr ARGLWYDD, trugaredd a'i
cylchyna ef.
h Ps. 64. 10. a 68. 3. — 11 Y rhai cyfiawn, [h]byddwch la-
wen a hyfryd yn yr ARGLWYDD: a'r
rhai uniawn o galon oll, cenwch yn
llafar.

## PSALM XXXIII.

1 *Bod yn rhaid moliannu Duw, am ei ddaioni,*
*6 am ei allu, 12 am ei ragluniaeth. 20 Ar*
*Dduw y mae hyderu.*

YMLAWENHEWCH, y rhai cyf-
a Ps. 97. 12. — iawn, [a]yn yr ARGLWYDD: i'r
b Ps. 147. 1. — rhai uniawn gweddus yw [b]mawl.
2 Molwch yr ARGLWYDD â'r del-
yn: cenwch iddo â'r nabl, *ac â'r*
degtant.
c Ps. 96. 1. a 98. 1. a 144. 9. Es. 42. 10. Dat. 5. 9. — 3 [c]Cenwch iddo ganiad newydd:
cenwch yn gerddgar, yn soniarus.
4 Canys uniawn *yw* gair yr AR-
GLWYDD; a'i holl weithredoedd *a*
*wnaed* mewn ffyddlondeb.
d Ps. 45. 7. — 5 [d]Efe a gâr gyfiawnder a barn:
e Ps. 119. 64. — [e]o drugaredd yr ARGLWYDD y mae
y ddaear yn gyflawn.
f Gen. 1. 6, 7. Heb. 11. 3. 2 Petr 3. 5. — 6 [f]Trwy air yr ARGLWYDD y
g Gen. 2. 1. — gwnaethpwyd y nefoedd; a'u [g]holl
h Job 26. 13. — luoedd hwy [h]trwy ysbryd ei enau ef.
i Gen. 1. 9. Job 26. 10. a 38. 8. — 7 [i]Casglu y mae efe ddyfroedd y
môr ynghyd megis pentwr: y mae
yn rhoddi y dyfnderoedd mewn
trysorau.
8 Ofned yr holl ddaear yr AR-
GLWYDD: holl drigolion y byd ar-
swydant ef.
k Gen. 1. 3. Ps. 148. 5. — 9 Canys [k]efe a ddywedodd, ac
*felly* y bu: efe a orchymynodd, a
hynny a safodd.
l Es. 19. 3. — 10 [l]Yr ARGLWYDD sydd yn di-
ddymmu cynghor y cenhedloedd: y
mae efe yn diddymmu amcanion
pobloedd.
m Job 23. 13. Diar. 19. 21. Es. 46. 10. — 11 [m]Cynghor yr ARGLWYDD a saif
yn dragywydd; meddyliau ei galon
o genhedlaeth i genhedlaeth.
n Ps. 65. 4. a 144. 15. — 12 [n]Gwŷn ei byd y genedl *y mae*
yr ARGLWYDD yn DDUW iddi; *a'r*
bobl a ddetholodd efe yn etifedd-
iaeth iddo ei hun.
o 2 Chron. 16. 9. Job 28. 24. Ps. 11. 4. a 14. 2. — 13 [o]Yr ARGLWYDD sydd yn edrych
i lawr o'r nefoedd: *y mae* yn gwel-
ed holl feibion dynion.
14 O breswyl ei drigfa yr edrych
efe ar holl drigolion y ddaear.
15 Efe a gyd-luniodd eu calon
hwynt: efe a ddeall eu holl weith-
redoedd.
p Ps. 44. 6. — 16 [p]Ni waredir brenhin gan lïaws
llu: ni ddïangc cadarn trwy ei fawr
gryfder.
17 [q]Peth ofer *yw* march i ym- — q Ps. 147. 10. Diar. 21. 31.
wared: ac nid achub efe *neb* trwy
ei fawr gryfder.
18 [r]Wele, *y mae* llygad yr AR- — r Job 36. 7. Ps. 34. 15. 1 Petr 3. 12.
GLWYDD ar y rhai a'i hofnant ef,
*sef* [s]ar y rhai a obeithiant yn ei — s Ps. 147. 11.
drugaredd ef;
19 I waredu eu henaid rhag ang-
au, ac [t]i'w cadw yn fyw yn *amser* — t Job 5. 20. Ps. 37. 19.
newyn.
20 [u]Ein henaid sydd yn disgwyl — u Ps. 62. 1, 5. a 130. 6.
am yr ARGLWYDD: [x]efe *yw* ein — x Ps 115. 9, 10, 11.
porth a'n tarian.
21 Canys ynddo ef y llawenycha
ein calon, o herwydd i ni obeithio
yn ei enw sanctaidd ef.
22 Bydded dy drugaredd, AR-
GLWYDD, arnom ni, megis yr ydym
yn ymddiried ynot.

## PSALM XXXIV.

1 *Dafydd yn clodfori Duw, ac yn annog eraill*
*i wneuthur hynny, wrth a brofasai efe. 8*
*Dedwydd yw y rhai sydd yn ymddiried yn*
*Nuw. 11 Cynghor i ofni Duw. 15 Rhagor-*
*fraint y cyfiawn.*

*Psalm* Dafydd, pan newidiodd efe ei wedd
o flaen [2]Abimelech; yr hwn a'i gyrrodd — 2 *Achis.* 1 Sam. 21. 13.
ef ymaith, ac efe a ymadawodd.

BENDITHIAF [a]yr ARGLWYDD — a Eph. 5. 20. 1 Thess. 5. 18.
bob amser: ei foliant *fydd* yn — 2 Thess. 1. 3. a 2. 13.
fy ngenau yn wastad.
2 Yn yr ARGLWYDD y gorfoledda
fy enaid: [b]y rhai gostyngedig a — b Ps. 119. 74. a 142. 7.
glywant *hyn*, ac a lawenychant.
3 Mawrygwch yr ARGLWYDD gyd
â mi; a chyd-ddyrchafwn ei enw ef.
4 Ceisiais yr ARGLWYDD, ac efe
a'm gwrandawodd; gwaredodd fi
hefyd o'm holl ofn.
5 Edrychasant arno, a hwy a
oleuwyd; a'u hwynebau ni chywil-
yddiwyd.
6 Y tlawd hwn a lefodd, a'r AR-
GLWYDD a'*i* clybu, ac a'i gwared-
odd o'i holl drallodau.
7 Angel yr ARGLWYDD [c]a gastella — c Edrych Gen. 32. 1, 2.
o amgylch y rhai a'i hofnant ef, ac — 2 Bren. 6. 17.
a'u gwared hwynt.
8 [d]Profwch, a gwelwch mor dda — Zech. 9. 8. d 1 Petr 2. 3.
*yw* yr ARGLWYDD: [e]gwŷn *ei* fyd y — e Ps. 2. 12.
gwr a ymddiriedo ynddo.
9 [f]Ofnwch yr ARGLWYDD, ei saint — f Ps. 31. 23.
ef: canys nid *oes* eisieu ar y rhai
a'i hofnant ef.
10 [g]Y mae eisieu a newyn ar y — g Job 4. 10, 11.
llewod ieuaingc: ond y sawl a geis-
iant yr ARGLWYDD, ni bydd arnynt
eisieu dim daioni.
11 Deuwch, blant, gwrandêwch

arnaf: dysgaf i chwi ofn yr Ar-
glwydd.
12 [h]Pwy *yw* y gwr a chwennych
fywyd, *ac* a gâr *hir* ddyddiau, i
weled daioni?
13 Cadw dy dafod rhag drwg, a'th
wefusau rhag traethu twyll.
14 [i]Cilia oddi wrth ddrwg, a gwna
dda; [k]ymgais â thangnefedd, a
dilyn hi.
15 [l]Llygaid yr Arglwydd *sydd*
ar y cyfiawn: a'i glustiau *sydd yn*
*agored* i'w llefain hwynt.
16 [m]Wyneb yr Arglwydd *sydd*
yn erbyn y rhai a wna ddrwg, i
dorri eu coffa oddi ar y ddaear.
17 *Y rhai cyfiawn* a lefant; a'r
Arglwydd a glyw, ac a'u gwared
o'u holl drallodau.
18 [n]Agos *yw* yr Arglwydd at y
rhai drylliedig o galon; ac efe a
geidw y rhai briwedig o yspryd.
19 [o]Aml ddrygau *a gaiff* y cyf-
iawn: ond yr Arglwydd a'i gwared
ef oddi wrthynt oll.
20 Efe a geidw ei holl esgyrn ef:
[p]ni thorrir un o honynt.
21 [q]Drygioni a ladd yr annuwiol:
a'r rhai a gasânt y cyfiawn, a [3]an-
rheithir.
22 Yr Arglwydd a wared eneid-
iau ei weision: a'r rhai oll a ym-
ddiriedant ynddo ef, nid anrheithir
hwynt.

## PSALM XXXV.

1 *Dafydd yn gweddïo am ddïogelwch iddo ei hun, a gwarth i'w elynion: 11 yn achwyn rhag y cam a wnaent âg ef. 22 Ac wrth hynny, yn annog Duw yn eu herbyn hwy.*

*Psalm* Dafydd.

DADLEU [a]*fy nadl*, Arglwydd,
yn erbyn y rhai a ddadleuant
i'm herbyn: ymladd â'r rhai a ym-
laddant â mi.
2 Ymafael yn y darian a'r astalch,
a chyfod i'm cymmorth.
3 Dwg allan y waywffon, ac argaea
yn erbyn fy erlidwyr: dywed wrth
fy enaid, Myfi *yw* dy iachawdwr-
iaeth.
4 [b]Cywilyddier a gwaradwydder y
rhai a geisiant fy enaid: ymchwel-
er yn *eu* hol a gwarthâer y sawl a
fwriadant fy nrygu.
5 [c]Byddant fel us o flaen y gwynt:
ac angel yr Arglwydd yn *eu* her-
lid.
6 Bydded eu ffordd [d]yn dywyll-
wch ac yn llithrigfa: ac angel yr
Arglwydd yn eu hymlid.
7 Canys heb achos y cuddiasant

h 1 Petr 3. 10.
i Ps. 37. 27. Es. 1. 16, 17.
k Heb. 12. 14.
l Job 36. 7. Ps. 33. 18. 1 Petr 3. 12.
m Lef. 17. 10. Jer. 44. 11. Amos 9. 4.
n Ps. 51. 17. Es. 57. 15. a 61. 1. a 66. 2.
o 2 Tim. 3. 11, 12.
p Ioan 19. 36.
q Ps. 94. 23.
3 Neu, *fyddant euog.*
a Ps. 43. 1. a 119. 154. Galar. 3. 58.
b ad. 26. Ps. 40. 14, 15. a 70. 3.
c Job 21. 18. Ps. 1. 4. Es. 29. 5. Hos. 13. 3.
d Ps. 73. 18. Jer. 23. 12.

eu rhwyd i mi *mewn* pydew, *yr*
*hwn* heb achos a gloddiasant i'm
henaid.
8 Deued arno ddistryw ni wypo;
[e]a'i rwyd yr hon a guddiodd, a'i
dalio: syrthied yn y distryw hwnnw.
9 A llawenycha fy enaid i yn yr
Arglwydd: *efe* a ymhyfryda yn ei
iachawdwriaeth ef.
10 [f]Fy holl esgyrn a ddywedant,
O Arglwydd, pwy *sydd* fel tydi,
yn gwaredu y tlawd rhag yr hwn a
fyddo trech nag ef; y truan hefyd
a'r tlawd, rhag y neb a'i hyspeilio?
11 Tystion gau a gyfodasant: hol-
asant i mi yr hyn nis gwn oddi wrtho.
12 [g]Talasant i mi ddrwg dros dda,
*i* [2]yspeilio fy enaid.
13 A minnau, [h]pan glafychent
hwy, *oeddwn* â'm gwisg o sachlen:
[3]gostyngais fy enaid âg ympryd,
a'm [i]gweddi a ddychwelodd i'm
mynwes fy hun.
14 [4]Ymddygais fel *pe buasai* yn
gyfaill, *neu* yn frawd i mi: ymos-
tyngais mewn galarwisg, fel un yn
galaru *am ei* fam.
15 Ond ymlawenhasant hwy yn fy
[5]adfyd i, ac ymgasglasant: [k]*ie*, ym-
gasglodd efryddion yn fy erbyn, ac
nis gwyddwn; rhwygasant *fi*, ac ni
pheidient.
16 Ym mysg y gwatwarwyr rhag-
rithiol mewn gwleddoedd, [l]ysgyr-
nygasant eu dannedd arnaf.
17 Arglwydd, [m]pa hyd yr edrychi
di *ar hyn?* gwared fy enaid rhag
eu distryw hwynt, [n]fy unig *enaid*
rhag y llewod.
18 [o]Mi a'th glodforaf yn y gyn-
nulleidfa fawr: moliannaf di ym
mhlith pobl [6]lawer.
19 Na lawenychant o'm herwydd y
rhai sydd elynion i mi [7]heb achos:
y sawl [p]a'm casânt yn ddïachos, *nac*
[q]amneidiant â llygad.
20 Gan nad ymddiddanant yn
dangnefeddus; eithr dychymmyg-
ant eiriau dichellgar yn erbyn *y*
*rhai* llonydd yn y tir.
21 Lledasant eu safn arnaf, gan
ddywedyd, [r]Ha, ha, gwelodd ein
llygad.
22 Gwelaist *hyn*, Arglwydd: [s]na
thaw dithau; nac ymbellhâ oddi
wrthyf, O Arglwydd.
23 [t]Cyfod, a deffro i'm barn, *sef*
i'm dadl, fy Nuw a'm Harglwydd.
24 Barn fi, Arglwydd fy Nuw,
yn ol dy gyfiawnder; ac na lawen-
hânt o'm plegid.

e Ps. 7. 15, 16. a 57. 6. a 141. 9. Diar. 5. 22.
f Edrych Ps. 51. 8.
g Ps. 38. 20. a 109. 3, 5.
2 Heb. *ddifuddio.*
h Job 30. 25. Ps. 69. 10, 11.
3 Neu, *cystuddiais.*
i Matt. 10. 13. Luc 10. 6.
4 Heb. *Rhodiais.*
5 Heb. *nghloffni.* Ps. 38. 17.
k Job 30. 1, 8, 12.
l Ps. 37. 12.
m Hab. 1. 13.
n Ps. 22. 20.
o Ps. 22. 25, 31. a 40. 9, 10. a 111. 1.
6 Heb. *gedyrn.*
7 Heb. *ar gam.*
p Ps. 69. 4. a 109. 3. a 119. 161. Galar. 3. 52. Ioan 15. 25.
q Diar. 6. 13. a 10. 10.
r Ps. 40. 15. a 54. 7. a 70. 3.
s Ps. 83. 1.
t Ps. 44. 23.

25 Na ddywedant yn eu calon,
O ein [8] gwynfyd: na ddywedant,
Llyngcasom ef.
26 [u] Cywilyddier a gwaradwydder
hwy i gyd, y rhai sydd lawen am
fy nrygfyd: [x] gwisger â gwarth ac
â chywilydd y rhai a ymfawrygant
i'm herbyn.
27 Caned a llawenyched y rhai a
hoffant fy nghyfiawnder: dywedant
hefyd yn wastad, Mawryger yr ARGLWYDD, [y] yr hwn a gâr lwyddiant
ei was.
28 Fy nhafod innau a lefara am
dy gyfiawnder *a'th* foliant ar hyd
y dydd.

## PSALM XXXVI.

1 *Blin gyflwr yr annuwiol.* 5 *Godidowgrwydd trugaredd Duw.* 10 *Dafydd yn gweddïo am ffafr i blant Duw.*

I'r Pencerdd, *Psalm* Dafydd gwas yr ARGLWYDD.

Y MAE anwiredd yr annuwiol
yn dywedyd o fewn fy nghalon, [a] nad *oes* ofn DUW o flaen ei
lygaid ef.
2 O herwydd [b] ymwenhieithio y
mae efe iddo ei hun yn ei olwg
ei hunan, [2] nes cael ei anwiredd
[3] yn atgas.
3 Geiriau ei enau *ydynt* anwiredd
a thwyll: peidiodd â bod yn gall i
wneuthur daioni.
4 [4] [c] Anwiredd a ddychymmyg efe
ar ei wely: efe a'i gesyd ei hun
ar ffordd nid *yw* dda; nid ffiaidd
ganddo ddrygioni.
5 [d] Dy drugaredd, ARGLWYDD,
*sydd* hyd y nefoedd, *a'th* wirionedd
hyd y cymmylau.
6 Fel mynyddoedd [5] cedyrn *y mae*
dy gyfiawnder; [e] dyfnder mawr *yw*
dy farnedigaethau: [f] dyn ac anifail
a gedwi di, ARGLWYDD.
7 Mor werthfawr *yw* dy drugaredd, O DDUW! am hynny yr ymddiried meibion dynion [g] dan gysgod dy adenydd.
8 [6] [h] Llawn-ddigonir hwynt â brasder dy dŷ; ac [i] âg afon dy hyfrydwch y dïodi hwynt.
9 Canys gyd â thi *y mae* ffynnon y
bywyd: yn dy oleuni di y gwelwn
oleuni.
10 Estyn dy drugaredd i'r rhai
a'th adwaenant, a'th gyfiawnder i'r
rhai uniawn o galon.
11 Na ddeued troed balchder i'm
herbyn: na syfled llaw yr annuwiol fi.
12 Yno y syrthiodd gweithwyr an-

[8] Heb. *enaid.*
[u] ad. 4. Ps. 40. 14.
[x] Ps. 109. 29. a 132. 18.
[y] Ps. 149. 4.
[a] Rhuf. 3. 18.
[b] Deut. 29. 19. Ps. 10. 3. a 49. 18.
[2] Heb. *i gael.*
[3] Heb. *i'w gasâu.*
[4] Neu, *Gwagedd.*
[c] Diar. 4. 16. Mic. 2. 1.
[d] Ps. 57. 10. a 108. 4
[5] Heb. *Duw.*
[e] Job 11. 8. Rhuf. 11. 33.
[f] Job 7. 20. 1 Tim. 4. 10.
[g] Ruth 2. 12. Ps. 17. 8.
[6] Heb. *Meddwir,* neu, *Mwydir.*
[h] Ps. 65. 4.
[i] Job 20. 17. Dat. 22. 1.

wiredd: gwthiwyd hwynt i lawr,
ac ni allant gyfodi.

## PSALM XXXVII.

*Dafydd yn annog i amynedd, ac i hyderu ar Dduw, o herwydd y rhagor sydd rhwng cyflwr y duwiol a'r annuwiol.*

*Psalm* Dafydd.

NAC [a] ymddigia o herwydd y rhai
drygionus, ac na chenfigenna
wrth y rhai a wnant anwiredd.
2 Canys yn ebrwydd y torrir hwynt
i'r llawr fel glaswellt, ac y gwywant
fel gwyrdd-lysiau.
3 Gobeithia yn yr ARGLWYDD, a
gwna dda; *felly* y trigi yn y tir, a
thi a borthir yn ddïau.
4 Ymddigrifa hefyd yn yr ARGLWYDD; ac efe a ddyry i ti ddymuniadau dy galon.
5 [b] Treigla dy ffordd ar yr ARGLWYDD, ac ymddiried ynddo; ac
efe a'*i* dwg i ben.
6 Efe a ddwg allan dy gyfiawnder
fel y goleuni, a'th farn [c] fel hanner
dydd.
7 Distawa yn yr ARGLWYDD, a
disgwyl wrtho: nac ymddigia o
herwydd yr hwn a lwyddo ganddo ei ffordd, wrth y gwr sydd yn
gwneuthur *ei* ddrwg amcanion.
8 Paid â digofaint, a gâd ymaith
gynddaredd: [d] nac ymddigia er dim
i wneuthur drwg.
9 Canys torrir ymaith y drwg
ddynion: ond y rhai a ddisgwyliant
wrth yr ARGLWYDD, hwynt-hwy a
etifeddant y tir.
10 Canys etto ychydigyn, ac ni
*welir* yr annuwiol: a [e] thi a edrychi
am ei le ef, ac ni *bydd dim* o
hono.
11 [f] Eithr y rhai gostyngedig a etifeddant y ddaear; ac a ymhyfrydant gan lïaws tangnefedd.
12 Yr annuwiol a amcana yn erbyn y cyfiawn, ac [g] a ysgyrnyga ei
ddannedd arno.
13 [h] Yr ARGLWYDD a chwardd am
ei ben ef: canys gwel fod ei ddydd
ar ddyfod.
14 Yr annuwiolion a dynnasant eu
cleddyf, ac a annelasant eu bwa, i
fwrw i lawr y tlawd a'r anghenog,
*ac* i ladd y rhai uniawn *eu* ffordd.
15 [i] Eu cleddyf a â yn eu calon eu
hunain, a'u bwâau a ddryllir.
16 Gwell *yw* yr ychydig sydd gan
y cyfiawn na mawr olud annuwiolion lawer.
17 Canys [k] breichiau yr annuwiol-

[a] Ps. 73. 3. Diar. 23. 17. a 24. 1, 19.
[b] Ps. 55. 22. Diar. 16. 3. Mat. 6. 25. Luc 12. 22. 1 Petr 5. 7.
[c] Job 11. 17.
[d] Ps. 73. 3. Eph. 4. 26.
[e] Job 7. 10. a 20. 9.
[f] Matt. 5. 5.
[g] Ps. 35. 16.
[h] Ps. 2. 4.
[i] Mic. 5. 6.
[k] Job 38. 15. Ps. 10. 15. Ezec. 30. 21, &c.

ion a dorrir: ond yr ARGLWYDD a
gynnal y rhai cyfiawn.
18 Yr ARGLWYDD a edwyn ddydd-
iau y rhai perffaith: a'u hetifedd-
iaeth hwy fydd yn dragywydd.
19 Nis gwaradwyddir hwy yn am-
[l] Job 5. 20. Ps. 33. 19. ser drygfyd: ac [l] yn amser newyn
y cânt ddigon.
20 Eithr collir yr annuwiolion, a
[2] Heb. *gwerthfawrowgrwydd.* gelynion yr ARGLWYDD fel [2] bras-
der ŵyn a ddiflannant: yn fwg y
diflannant hwy.
21 Yr annuwiol a echwyna, ac ni
[m] Ps. 112. 5, 9. thâl adref: ond y [m] cyfiawn sydd
drugarog, ac yn rhoddi.
22 Canys *y rhai* a fendigo efe, a
etifeddant y tir; a'*r rhai* a fell-
dithio efe, a dorrir ymaith.
[3] Neu, *sicrhâ.* 23 Yr ARGLWYDD a [3] fforddia
gerddediad gwr *da:* a da fydd
ganddo ei ffordd ef.
[n] Ps. 34. 19, 20. a 91. 12. Diar. 24. 16. 2 Cor. 4. 9. 24 [n] Er iddo gwympo, ni lwyr-
fwrir ef i lawr: canys yr ARGLWYDD
sydd yn *ei* gynnal *ef* â'i law.
25 Mi a fûm ieuangc, ac yr ydwyf
yn hen; etto ni welais y cyfiawn
[o] Job 15. 23. Ps. 59. 15. a 109. 10. wedi ei adu, na'i had [o] yn cardotta
bara.
[4] Heb. *Ar hyd y dydd,* neu, *Bob dydd.* [p] Ps. 112. 5, 9. 26 [4] [p] Bob amser *y mae efe* yn
drugarog, ac yn rhoddi benthyg;
a'i had a fendithir.
[q] Ps. 34. 14. 27 [q] Cilia di oddi wrth ddrwg, a
gwna dda; a chyfannedda yn dra-
gywydd.
28 Canys yr ARGLWYDD a gâr
farn, ac ni edy ei saint; cedwir
[r] Ps. 21. 10. hwynt yn dragywydd: ond [r] had
yr annuwiol a dorrir ymaith.
[s] Diar. 2. 21. 29 [s] Y rhai cyfiawn a etifeddant y
ddaear, ac a breswyliant ynddi yn
dragywydd.
30 Genau y cyfiawn a fynega
ddoethineb, a'i dafod a draetha
farn.
[t] Deut. 6. 6. Ps. 40. 8. a 119. 98. Es. 51. 7. [5] Neu, *gerddediaid.* 31 [t] Deddf ei DDUW *sydd* yn ei
galon ef; a'i [5] gamrau ni lithrant.
32 Yr annuwiol a wylia ar y cyf-
iawn, ac a gais ei ladd ef.
33 Ni âd yr ARGLWYDD ef yn ei
law ef, ac ni âd ef yn euog pan ei
barner.
34 Gobeithia yn yr ARGLWYDD, a
chadw ei ffordd ef, ac efe a'th
ddyrchafa fel yr etifeddech y tir:
[u] Ps. 91. 8. [u] pan ddifether yr annuwiolion, ti
a'*i* gweli.
[x] Job 5. 3. 35 [x] Gwelais yr annuwiol yn gad-
[6] Neu, *pren gwyrddlas yn tyfu o hono ei hun.* arn, ac yn frigog fel [6] y lawryf
gwyrdd.
36 Er hynny efe a aeth ymaith,
ac wele, nid *oedd mwy* o hono:
a mi a'i ceisiais, ac nid oedd i'w
gael.
37 Ystyr y perffaith, ac edrych ar
yr uniawn: canys diwedd y gwr
*hwnnw fydd* tangnefedd.
38 Ond y troseddwyr a gyd-ddis-
trywir: diwedd yr annuwiolion a
dorrir ymaith.
39 A iachawdwriaeth y cyfiawn
*sydd* oddi wrth yr ARGLWYDD: *efe*
*yw* eu nerth yn amser trallod.
40 [y] A'r ARGLWYDD a'u cymmorth [y] Es. 31. 5.
hwynt, ac a'u gwared: efe a'u gwar-
ed hwynt rhag yr annuwiolion, ac
a'u ceidw hwynt, am iddynt ym-
ddiried ynddo.

## PSALM XXXVIII.

*Dafydd yn erfyn ar Dduw dosturio wrth ei dostur gyflwr ef.*

Psalm Dafydd, [a] er coffa. [a] Ps. 70. titl.

ARGLWYDD, na [b] cherydda fi yn [b] Ps. 6. 1.
dy lid: ac na chospa fi yn dy
ddigllonedd.
2 Canys [c] y mae dy saethau y'nglŷn [c] Job 6. 4.
ynof, a'th law yn drom arnaf.
3 Nid *oes* iechyd yn fy nghnawd,
o herwydd dy ddigllonedd; [d] ac nid [d] Ps. 6. 2.
*oes* heddwch i'm hesgyrn, oblegid
fy mhechod.
4 Canys [e] fy nghamweddau a aeth- [e] Ezra 9. 6. Ps. 40. 12.
ant dros fy mhen: megis baich
trwm y maent yn rhy drwm i mi.
5 Fy nghleisiau a bydrasant *ac* a
lygrasant, gan fy ynfydrwydd.
6 Crymmwyd a darostyngwyd fi
yn ddirfawr: [f] beunydd yr ydwyf [f] Job 30. 28. Ps. 35. 14. a 42. 9. a 43. 2.
yn myned yn alarus.
7 Canys fy lwynau a lanwyd o
ffieidd-*glwyf;* ac nid *oes* iechyd yn
fy nghnawd.
8 Gwanhawyd, a drylliwyd fi yn
dra-mawr: [g] rhuais gan aflonydd- [g] Job 3. 24. Es. 59. 11.
wch fy nghalon.
9 O'th flaen di, ARGLWYDD, *y mae*
fy holl ddymuniad; ac ni chuddiwyd
fy uchenaid oddi wrthyt.
10 Fy nghalon sydd yn llammu;
fy nerth a'm gadawodd; a [h] llew- [h] Ps. 6. 7. a 88. 9.
yrch fy llygaid nid *yw* chwaith
gennyf.
11 [i] Fy ngharedigion a'm cyfeillion [i] Ps. 31. 11.
[k] a safent oddi ar gyfer fy [2] mhla; [k] Luc 10. 31, 32. [2] Heb. *nyrnod.*
a'm [3] cyfneseifiaid a safent o hirbell. [3] Neu, *cymmydogion.*
12 Y rhai hefyd a geisient fy ein-
ioes, a osodasant faglau; a'r rhai a
geisient fy niwed, a draethent an-
wireddau, ac a ddychymmygent
ddichellion ar hyd y dydd.
13 A [l] minnau fel byddar ni chlywn; [l] Edrych 2 Sam. 16. 10.
eithr [m] *oeddwn* fel mudan heb agor- [m] Ps. 39. 2, 9.
yd ei enau.

14 Felly yr oeddwn fel gwr ni
chlywai, ac heb argyhoeddion yn ei
enau.
15 O herwydd i mi obeithio ynot,
ARGLWYDD; ti, ARGLWYDD fy NUW,
a [4]wrandewi.

[4] Neu, *attebi.*

16 Canys dywedais, *Gwrando fi,*
rhag llawenychu *o honynt* i'm her-
byn: pan lithrai fy nhroed, ym-
fawrygent i'm herbyn.
17 Canys parod *wyf* i [n]gloffi, a'm
dolur *sydd* ger fy mron yn wastad.

[n] Ps. 35. 15.

18 Dïau y mynegaf fy anwir-
edd, *ac* y pryderaf o herwydd fy
mhechod.
19 Ac *y mae* fy ngelynion yn fyw,
*ac* yn gedyrn: amlhawyd hefyd y
rhai a'm casânt ar gam.
20 A'r rhai [o]a dalant ddrwg dros
dda, a'm gwrthwynebant; [p]am fy
mod yn dilyn daioni.

[o] Ps. 35 12.
[p] Edrych 1 Ioan 3. 12. 1 Petr 3. 13.

21 Na âd fi, O ARGLWYDD: fy
NUW, nac ymbellhâ oddi wrthyf.
22 Brysia i'm cymmorth, O AR-
GLWYDD fy iachawdwriaeth.

## PSALM XXXIX.

1 *Gofal Dafydd am ei feddyliau: 4 ystyried fyrred ac ofered oes dyn: 7 parch barnedigaethau Duw, 10 a gweddi, yn ffrwyno ei annïoddefgarwch ef.*

Psalm Dafydd i'r Pencerdd, *sef* i [a]Jeduthun.

[a] 1 Chron. 16. 41. a 25. 1. Ps. 62, a 77, titl.

DYWEDAIS, Cadwaf fy ffyrdd,
rhag pechu â'm tafod: cadwaf
ffrwyn yn fy ngenau, tra fyddo yr
annuwiol yn fy ngolwg.
2 Tewais yn ddistaw, *ïe,* tewais â
daioni; a'm dolur a gyffrôdd.
3 Gwresogodd fy nghalon o'm
mewn: tra yr oeddwn yn myfyrio,
ennynodd tân, *a* mi a leferais â'm
tafod.
4 ARGLWYDD, [b]pâr i mi wybod fy
niwedd, a pheth *yw* mesur fy nydd-
iau; *fel* y gwypwyf [2]o ba oedran y
*byddaf* fi.

[b] Ps. 90. 12. a 119. 84.
[2] Neu, *mor freuol* ydwyf.

5 Wele, gwnaethost fy nyddiau
*fel* dyrnfedd; [c]a'm heinioes *sydd*
megis diddym yn dy olwg di:
[d]dïau mai cwbl wagedd *yw* pob
dyn, pan fo [3]ar y goreu. Selah.

[c] Ps. 90. 4.
[d] ad. 11. Ps. 62. 9. a 144. 4.
[3] Heb. *wedi ymsefydlu.*

6 Dyn yn ddïau sydd yn rhodio
mewn [4]cysgod, ac yn ymdrafferthu
yn ofer: [e]efe a dyrra *olud,* ac nis
gŵyr pwy a'i casgl.

[4] Heb. *eilun.*
[e] Job 27. 17. Preg. 2. 18, 21, 26. a 5. 14.

7 Ac yn awr beth a ddisgwyliaf,
O ARGLWYDD? fy ngobaith sydd
ynot ti.
8 Gwared fi o'm holl gamweddau;
*ac* na osod fi yn waradwydd i'r
ynfyd.
9 [f]Euthum yn fud, *ac* nid agorais
fy ngenau: canys ti a wnaethost
*hyn.*

[f] Job 40. 4, 5. Ps. 38. 13.

10 [g]Tyn dy bla oddi wrthyf: gan
[5]ddyrnod dy law y darfum i.
11 Pan gospit ddyn â cheryddon
am anwiredd, [6][h]dattodit fel gwyfyn
ei ardderchowgrwydd ef: [i]gwagedd
yn ddïau *yw* pob dyn. Selah.

[g] Job 9. 34. a 13. 21.
[5] Heb. *frwydr.*
[6] Heb. *toddit.*
[h] Job 4. 19. a 13. 28. Es. 50. 9. Hos. 5. 12.
[i] ad. 5.

12 Gwrando fy ngweddi, AR-
GLWYDD, a chlyw fy llef; na thaw
wrth fy wylofain: canys [k]ymdeith-
ydd *ydwyf* gyd â thi, *ac* alltud, [l]fel
fy holl dadau.
13 [m]Paid â mi, fel y cryfhawyf cyn
fy myned, ac na byddwyf mwy.

[k] Lef. 25. 23. 1 Chron. 29. 15. Ps. 119. 19. 2 Cor. 5. 6. Heb. 11. 13. 1 Petr 1. 17. a 2. 11.
[l] Gen. 47. 9.
[m] Job 10. 20, 21. a 14. 5, 6.

## PSALM XL.

1 *Y llês sydd o hyderu ar Dduw. 6 Ufudd-dod yw yr aberth goreu. 11 Drygau Dafydd yn peri iddo weddïo yn daerach.*

I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

DISGWYLIAIS [2]yn ddyfal am
yr ARGLWYDD; ac efe a ym-
ostyngodd attaf, ac a glybu fy llef-
ain.

[2] Heb. *gan ddisgwyl.*

2 Cyfododd fi hefyd o'r pydew
[3]erchyll, allan o'r [a]pridd tomlyd;
ac a osododd fy nhraed ar graig,
gan hwylio fy ngherddediad.

[3] Heb. *trwst.*
[a] Ps. 69. 2.

3 A rhoddodd yn fy ngenau ganiad
newydd o foliant i'n DUW ni: lla-
wer a welant *hyn,* ac a ofnant, ac a
ymddiriedant yn yr ARGLWYDD.
4 Gwŷn *ei* fyd y gwr a osodo yr
ARGLWYDD yn ymddiried iddo; ac
ni thry at feilchion, nac at y rhai a
ŵyrant at gelwydd.
5 [b]Llïosog y gwnaethost ti, O AR-
GLWYDD fy NUW, dy ryfeddodau,
a'th amcanion tu ag attom: ni ellir
yn drefnus eu cyfrif hwynt i ti: pe
mynegwn, *a phe* traethwn *hwynt,*
amlach ydynt nag y gellir eu rhifo.

[b] Job 5. 9. a 9. 10. Ps. 71. 15. a 92. 5. a 139. 6, 17.

6 [c]Aberth ac offrwm nid ewyll-
ysiaist; [4]agoraist fy nghlustiau:
poeth-offrwm a phech-aberth nis
gofynaist.
7 Yna y dywedais, Wele yr ydwyf
yn dyfod: [5]yn rhol y llyfr yr ysgrif-
enwyd am danaf.

[c] 1 Sam. 15. 22. Ps. 50. 8. a 51. 16. Es. 1. 11. a 66. 3. Hos. 6. 6. Matt. 12. 7. Heb. 10. 5.
[4] Heb. *cloddiaist.*
[5] Neu, *ym mhlyg.*

8 [d]Da gennyf wneuthur dy ewyll-
ys, O fy NUW: [e]a'th gyfraith *sydd*
[6]o fewn fy nghalon.

[d] Ps. 119. 16, 24, 27, 92. Rhuf. 7. 22.
[e] Ps. 37. 31. Jer. 31. 33. 2 Cor. 3. 3.
[6] Heb. *y'nghanol fy ymysgaroedd.*

9 [f]Pregethais gyfiawnder yn y
gynnulleidfa fawr: wele, nid attel-
iais fy ngwefusau; ti, ARGLWYDD,
a'i gwyddost.

[f] Ps. 35. 18.

10 Ni chuddiais dy gyfiawnder o
fewn fy nghalon; traethais dy ffydd-
loneb, a'th iachawdwriaeth: ni chel-
ais dy drugaredd na'th wirionedd
yn y gynnulleidfa lïosog.

11 Tithau, ARGLWYDD, nac attal
dy drugareddau oddi wrthyf:
[g] cadwed dy drugaredd a'th wirion-
edd fi byth.
12 Canys drygau annifeiriol a'm
cylchynasant o amgylch: [h] fy
mhechodau a'm daliasant, fel na
allwn edrych i fynu: amlach ydynt
na gwallt fy mhen; am hynny [7] [i] y
pallodd fy nghalon gennyf.
13 [k] Rhynged bodd i ti, AR-
GLWYDD, fy ngwaredu: brysia,
ARGLWYDD, i'm cymmorth.
14 [l] Cyd-gywilyddier a gwarad-
wydder y rhai a geisiant fy einioes
i'w difetha; gyrrer yn eu hol a
chywilyddier y rhai a ewyllysiant
i mi ddrwg.
15 Anrheithier hwynt yn wobr am
eu gwaradwydd, y rhai a ddywed-
ant wrthyf, Ha, ha.
16 Llawenyched ac ymhyfryded
ynot ti y rhai oll a'th geisiant: dy-
weded y rhai a garant dy iachawd-
wriaeth bob amser, Mawryger yr
ARGLWYDD.
17 Ond *yr wyf* fi yn dlawd ac yn
anghenus; *etto* yr ARGLWYDD a
feddwl am danaf: fy nghymmorth
a'm gwaredydd *ydwyt* ti; fy NUW,
na hir drig.

## PSALM XLI.

1 *Gofal Duw dros y tlawd.* 4 *Dafydd yn cwyno rhag brad ei elynion;* 10 *yn cilio at Dduw am gymmorth.*

I'r Pencerdd, Psalm Dafydd.

GWYN [a] *ei* fyd a ystyria wrth
[2] y tlawd: yr ARGLWYDD a'i
gwared ef yn [3] amser adfyd.
2 Yr ARGLWYDD a'i ceidw, ac a'i
bywhâ; gwynfydedig fydd ar y
ddaear: na ddod dithau ef wrth
ewyllys ei elynion.
3 Yr ARGLWYDD a'i nertha ef ar
ei glaf wely: [4] cyweiri ei holl wely
ef yn ei glefyd.
4 Mi a ddywedais, ARGLWYDD,
trugarhâ wrthyf: iachâ fy enaid;
canys pechais i'th erbyn.
5 Fy ngelynion a lefarant ddrwg
am danaf, *gan ddywedyd,* Pa bryd
y bydd efe farw, ac y derfydd am
ei enw ef?
6 Ac os daw i'*m* hedrych, efe a
ddywed gelwydd; ei galon a gasgl
atti anwiredd: *pan* êl allan, efe a'*i*
traetha.
7 Fy holl gaseion a gyd-hustyng-
ant i'm herbyn: yn fy erbyn y dy-
chymmygant ddrwg i mi.
8 [5] Aflwydd, *meddant,* a lŷn

[g] Ps. 43. 3. a 57. 3. a 61. 7.
[h] Ps. 38. 4.
[7] Heb. *y'm gwrthododd fy nghalon.*
[i] Ps. 73. 26.
[k] Ps. 70. 1, &c.
[l] Ps. 35. 4, 26. a 70. 3. a 71. 13.
[a] Diar. 14. 21.
[2] Neu, *y llesg,* neu, *y claf.*
[3] Heb. *nydd drwg.*
[4] Heb. *troi.*
[5] Heb. *Peth i'r fall,* neu, *Belial.*

wrtho: a chan ei fod yn gorwedd,
ni chyfyd mwy.
9 [b] Hefyd y gwr oedd [6] anwyl gen-
nyf, yr hwn yr ymddiriedais iddo,
[c] *ac* a fwyttaodd fy mara, a [7] ddyrch-
afodd *ei* sawdl i'm herbyn.
10 Eithr ti, ARGLWYDD, trugarhâ
wrthyf; a chyfod fi, fel y talwyf
iddynt.
11 Wrth hyn y gwn hoffi o honot
fi, am na chaiff fy ngelyn orfoleddu
i'm herbyn.
12 Ond am danaf fi, yn fy mher-
ffeithrwydd y'm cynheli, ac y'm
gosodi ger dy fron yn dragywydd.
13 Bendigedig *fyddo* ARGLWYDD
DDUW Israel, o dragywyddoldeb a
hyd dragywyddoldeb. Amen, ac
Amen.

## PSALM XLII.

1 *Zêl Dafydd i weddïo Duw yn ei deml.* 5 *Y mae yn cynhyrfu ei enaid i roi ei oglud ar Dduw.*

I'r Pencerdd, [2] Maschil, i feibion [a] Corah.

FEL y brefa yr hydd am yr afon-
ydd dyfroedd, felly yr hiraetha
fy enaid am danat ti, O DDUW.
2 [b] Sychedig yw fy enaid am
DDUW, am [c] y DUW byw: pa bryd
y deuaf ac yr ymddangosaf ger
bron DUW?
3 [d] Fy nagrau oedd fwyd i mi
ddydd a nos, [e] tra dywedant wrthyf
bob dydd, Pa le *y mae* dy DDUW?
4 [f] Tywalltwn fy enaid ynof, pan
gofiwn hynny: canys aethwn gyd
â'r gynnulleidfa, [g] cerddwn gyd â
hwynt i dŷ DDUW, mewn sain cân
a moliant, *fel* tyrfa yn cadw gwyl.
5 [h] Paham, fy enaid, [3] y'th ddaros-
tyngir, ac yr ymderfysgi ynof? go-
beithia yn NUW: oblegid molian-
naf ef etto, [4] *am* iachawdwriaeth ei
wynebpryd.
6 Fy NUW, fy enaid a ymddaros-
twng ynof: am hynny y cofiaf di, o
dir yr Iorddonen, a'r Hermoniaid,
[5] o fryn Misar.
7 [i] Dyfnder a eilw ar ddyfnder,
wrth swn dy bistylloedd di: [k] dy
holl donnau a'th lifeiriaint a aeth-
ant drosof fi.
8 *Etto* yr ARGLWYDD [l] a orchy-
myn ei drugaredd liw dydd, a'i
gân *fydd* gyd â mi [m] liw nos; *sef*
gweddi ar DDUW fy einioes.
9 Dywedaf wrth DDUW fy nghraig,
Paham yr anghofiaist fi? paham [n] y
rhodiaf yn alarus trwy orthrymder
y gelyn?
10 *Megis* â [6] chleddyf yn fy esgyrn

[b] Job 19. 19. Ps. 55. 12, 13, 20. Jer. 20. 10.
[6] Heb. *heddwch i mi.*
[c] Ioan 13. 18.
[7] Heb. *fawrygodd.*
1023.
[2] Neu, *Psalm yn rhoddi athrawiaeth meibion Corah.*
[a] Edrych 1 Chron. 6. 33, 37. a 25. 5.
[b] Ps. 63. 1. a 84. 2.
[c] 1 Thess. 1. 9.
[d] Ps. 80. 5. a 102. 9.
[e] ad. 10. Ps. 79. 10. a 115. 2.
[f] Job 30. 16.
[g] Es. 30. 29.
[h] Ps. 43. 5.
[3] Heb. *yr ymgrymmi.*
[4] Neu, *iachawdwriaeth yw ei wynebpryd.*
[5] *o'r bryn bychan.*
[i] Jer. 4. 20. Ezec. 7. 26.
[k] Ps. 88. 7. Jonah 2. 3.
[l] Lef. 25. 21. Deut. 28. 8. Ps. 133. 3.
[m] Job 35. 10. Ps. 63. 6. a 149. 5.
[n] Ps. 38. 6.
[6] Neu, *lladdiad.*

*y mae* fy ngwrthwynebwyr yn fy
o ad. 3. Joel 2. 17. Mic. 7. 10. ngwaradwyddo, [o]pan ddywedant
wrthyf bob dydd, Pa le *y mae* dy
DDUW?
11 Paham y'th ddarostyngir, fy
enaid? a phaham y terfysgi ynof?
ymddiried yn NUW: canys etto y
moliannaf ef, *sef* iachawdwriaeth fy
wyneb, a'm DUW.

## PSALM XLIII.

1 *Dafydd yn gweddïo am gael ei ddwyn drachefn i'r deml; ac yn addaw gwasanaethu Duw yn llawen: 5 yn cynhyrfu ei enaid i ymddiried yn Nuw.*

1023. BARN fi, O DDUW, a dadleu fy
nadl yn erbyn y genhedlaeth
annhrugarog: gwared fi rhag y
dyn twyllodrus ac anghyfiawn.
2 Canys ti *yw* DUW fy nerth: pa-
a Ps. 42. 9. ham y'm bwri ymaith? [a]paham yr
âf yn alarus trwy orthrymder y
gelyn?
b Ps. 40. 11. a 57. 3. 3 [b]Anfon dy oleuni a'th wirion-
edd: tywysant hwy fi; *ac* arwein-
iant fi i fynydd dy sancteiddrwydd,
ac i'th bebyll.
4 Yna yr âf at allor DUW, at
DDUW hyfrydwch fy ngorfoledd;
a mi a'th foliannaf ar y delyn, O
DDUW, fy NUW.
c Ps. 42. 5, 11. 5 [c]Paham y'th ddarostyngir, fy
enaid? a phaham y terfysgi ynof?
gobeithia yn NUW; canys etto y
moliannaf ef, *sef* iachawdwriaeth fy
wyneb, a'm DUW.

## PSALM XLIV.

1 *Yr eglwys, wrth gofio daioni Duw tu ag atti o'r blaen, 7 yn cwyno rhag ei drygfyd presennol; 17 yn dangos ei phurdeb, 24 ac yn gweddïo yn ddifrif am gymmorth.*

I'r Pencerdd, i feibion Corah, Maschil.

DUW, clywsom â'n clustiau, ein
tadau a fynegasant i ni, *y*
weithred a wnaethost yn eu hamser
hwynt, yn y dyddiau gynt.
a Exod. 15. 17. Ps. 78. 55. a 80. 8. 2 [a]Ti â'th law a yrraist allan y
cenhedloedd, ac a'u plennaist hwy-
thau; ti a ddrygaist y bobloedd,
2 *gyrraist ymaith.* ac a'u [2]cynnyddaist hwythau.
b Deut. 8. 17. Jos. 24. 12. 3 Canys [b]nid â'u cleddyf eu hun y
goresgynasant y tir, nid eu braich
a barodd iachawdwriaeth iddynt;
eithr dy ddeheulaw di, a'th fraich,
c Deut. 4. 37. a llewyrch dy wyneb, [c]o herwydd i
ti eu hoffi hwynt.
d Ps. 74. 12. 4 [d]Ti, DDUW, yw fy Mrenhin:
gorchymyn iachawdwriaeth i Jacob.
5 Ynot ti y cilgwthiwn ni ein gel-
ynion: yn dy enw di y sathrwn y
rhai a gyfodant i'n herbyn.

6 O herwydd [e]nid yn fy mwa e Ps. 33. 16.
yr ymddiriedaf; nid fy nghleddyf
chwaith a'm hachub.
7 Eithr ti a'n hachubaist ni oddi
wrth ein gwrthwynebwyr, ac a wa-
radwyddaist ein caseion.
8 Yn NUW yr ymffrostiwn trwy y
dydd; a *ni* a glodforwn dy enw yn
dragywydd. Selah.
9 Ond [f]ti a'n bwriaist ni ymaith, f Ps. 60. 1, 10. a 74. 1. a 89. 38. a 108. 11.
ac a'n gwaradwyddaist; ac nid wyt
yn myned allan gyd â'n lluoedd.
10 Gwnaethost i ni droi yn ol oddi
wrth y gelyn: a'n caseion a an-
rheithiasant iddynt eu hun.
11 [g]Rhoddaist ni fel defaid i'w g Rhuf. 8. 36.
bwytta; a gwasgeraist ni ym mysg
y cenhedloedd.
12 [h]Gwerthaist dy bobl heb [3]elw, h Es. 52. 3, 4. Jer. 15. 13.
ac ni chwanegaist *dy olud* o'u 3 Heb. *olud.*
gwerth hwynt.
13 [i]Gosodaist ni yn warthrudd i'n i Deut. 28. 37. Ps. 79. 4. a 80. 6.
cymmydogion, yn watwargerdd ac
yn wawd i'r rhai ydynt o'n ham-
gylch.
14 [k]Gosodaist ni yn ddïareb ym k Jer. 24. 9.
mysg y cenhedloedd, [l]yn rhai i ys- l 2 Bren. 19. 21. Job 16. 4. Ps. 22. 7.
gwyd pen arnynt ym mysg y bobl-
oedd.
15 Fy ngwarthrudd *sydd* beunydd
ger fy mron, a chywilydd fy wyneb
a'm tôdd:
16 Gan lais y gwarthruddwr a'r
cablwr; o herwydd [m]y gelyn a'r m Ps. 8. 2.
ymddïalwr.
17 Hyn oll a ddaeth arnom; etto
ni'th anghofiasom di, ac ni buom
anffyddlawn yn dy gyfammod.
18 Ni throdd ein calon yn *ei* hol,
ac nid aeth ein cerddediad allan
o'th lwybr di;
19 Er i ti ein curo yn [n]nhrigfa n Es. 34. 13. a 35. 7.
dreigiau, a thoi drosom â [o]chysgod o Ps. 23. 4.
angau.
20 Os anghofiasom enw ein DUW,
neu [p]estyn ein dwylaw at Dduw p Job 11. 13. Ps. 68. 31.
dïeithr:
21 [q]Oni chwilia DUW hyn allan? q Job 31. 14.
canys efe a ŵyr ddirgeloedd y galon.
22 Ië, [r]er dy fwyn di y'n lleddir r Rhuf. 8. 36.
beunydd; cyfrifir ni fel defaid i'w
lladd.
23 [s]Deffro, paham y cysgi, O AR- s Ps. 7. 6. a 35. 23. a 59. 4, 5. a 78. 65.
GLWYDD? cyfod, na fwrw *ni* ymaith
yn dragywydd.
24 Paham y cuddi dy wyneb? *ac*
yr anghofi ein cystudd a'n gor-
thrymder?
25 Canys [t]gostyngwyd ein henaid t Ps. 119. 25.
i'r llwch: glynodd ein bol wrth y
ddaear.

ebwyr gan yr ARGLWYDD, a'r rhai
a ddywedant ddrwg yn erbyn fy
enaid.
21 Tithau, ARGLWYDD DDUW,
gwna erof fi er mwyn dy enw: am
*fod* yn dda dy drugaredd, gwared fi.
22 Canys truan a thlawd *ydwyf* fi,
a'm calon a archollwyd o'm mewn.
[n] Ps. 102. 11. a 144. 4. — 23 Euthum [n] fel cysgod pan gilio:
fel locust y'm hysgydwir.
24 Fy ngliniau a aethant yn eg-
wan gan ympryd; a'm cnawd a
guriodd o eisieu brasder.
25 Gwaradwydd hefyd oeddwn
[o] Ps. 22. 7. — iddynt: *pan* welent fi, [o] siglent eu
pennau.
26 Cynnorthwya fi, O ARGLWYDD
fy NUW; achub fi yn ol dy dru-
garedd:
27 Fel y gwypont mai dy law di
*yw* hyn; *mai* ti, ARGLWYDD, a'i
gwnaethost.
28 Melldithiant hwy, ond ben-
dithia di: cywilyddier hwynt, pan
gyfodant; a llawenyched dy was.
29 Gwisger fy ngwrthwynebwyr
â gwarth, ac ymwisgant â'u cywil-
ydd, megis â chochl.
30 Clodforaf yr ARGLWYDD yn
ddirfawr â'm genau; ïe, moliannaf
ef ym mysg llawer.
[p] Ps. 16. 8. a 73. 23. a 110. 5. a 121. 5. — 31 O herwydd [p] efe a saif ar dde-
heulaw y tlawd, i'*w* achub oddi
wrth y rhai a farnant ei enaid.

## PSALM CX.

1 *Brenhiniaeth,* 4 *offeiriadaeth,* 5 *goruchaf-
iaeth,* 7 *a dioddefaint Crist.*

Psalm Dafydd.

[a] Matt. 22. 44. Marc 12. 36. Luc 20. 42. Act. 2. 34. 1 Cor. 15. 25. Heb. 1. 13. 1 Petr 3. 22. — DYWEDODD [a] yr ARGLWYDD
wrth fy Arglwydd, Eistedd ar
fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy
elynion yn faingc i'th draed.
2 Gwïalen dy nerth a enfyn yr
ARGLWYDD o Sïon: llywodraetha
di y'nghanol dy elynion.
3 Dy bobl *a fyddant* ewyllysgar
[b] Ps. 96. 9. — yn nydd dy nerth, mewn [b] harddwch
[2] Neu, *yn fwy na chroth y wawr: cei wlith,* &c. — sancteiddrwydd, [2] o groth y wawr:
[3] *ieuengctid.* — y mae gwlith dy [3] enedigaeth i ti.
[c] Heb. 5. 6. a 7. 17, 21. Edrych Zech. 6. 13. — 4 [c] Tyngodd yr ARGLWYDD, ac
nid edifarhâ, Ti *wyt* offeiriad yn
dragywyddol, yn ol urdd Melchi-
sedec.
[d] Ps. 16. 8. — 5 Yr Arglwydd [d] ar dy ddeheu-
law a drywana frenhinoedd yn nydd
ei ddigofaint.
6 Efe a farn ym mysg y cenhedl-
oedd; lleinw *leoedd* â chelanedd-
[e] Ps. 68. 21. Hab. 3. 13. — au: [e] archolla ben [4] llawer gwlad.
[4] Neu, *gwledydd mawr.* — 7 Efe a ŷf o'r afon ar y ffordd:
am hynny y dyrcha efe *ei* ben.

## PSALM CXI.

1 *Y Psalmydd, trwy ei esampl ei hun, yn an-
nog eraill i foliannu Duw, am ei ogoneddus*
5 *a'i rasusol weithredoedd.* 10 *Mai ofn Duw
sydd yn magu gwir ddoethineb.*

[2] MOLWCH yr ARGLWYDD. — [2] Heb. *Haleluiah.*
Clodforaf yr ARGLWYDD â'*m*
holl galon, y'nghymmanfa y rhai
uniawn, ac *yn* y gynnulleidfa.
2 Mawr *yw* gweithredoedd yr AR-
GLWYDD, wedi eu ceisio gan bawb
a'u hoffant.
3 Gogoniant a harddwch *yw* ei
waith ef; a'i gyfiawnder sydd yn
parhâu byth.
4 Gwnaeth gofio ei ryfeddodau:
[a] graslawn a thrugarog *yw* yr AR- — [a] Ps. 86. 5. a 103. 8.
GLWYDD.
5 Rhoddodd [3] ymborth i'r rhai a'i — [3] Heb. *ysglyfaeth.*
hofnant ef: efe a gofia ei gyfam-
mod yn dragywydd.
6 Mynegodd i'w bobl gadernid ei
weithredoedd, i roddi iddynt eti-
feddiaeth y cenhedloedd.
7 Gwirionedd a barn *yw* gweith-
redoedd ei ddwylaw ef: [b] ei holl — [b] Ps. 19. 7.
orchymynion *ydynt* sicr:
8 [c] Wedi eu sicrhâu byth ac yn — [c] Es. 40. 8. Matt. 5. 18.
dragywydd, *a'u* gwneuthur mewn
gwirionedd ac uniawnder.
9 Anfonodd ymwared i'w bobl:
gorchymynodd ei gyfammod yn dra-
gywyddol: sancteiddiol ac ofnadwy
*yw* ei enw ef.
10 [d] Dechreuad doethineb *yw* ofn — [d] Deut. 4. 6. Job 28. 28. Diar. 1. 7. a 9. 10. Preg. 12. 13.
yr ARGLWYDD: [4] deall da *sydd* gan — [4] Neu, *llwyddiant.*
y rhai [5] a wnant *ei orchymynion* — [5] Heb. *a'u gwna hwynt.*
*ef:* y mae ei foliant ef yn parhâu
byth.

## PSALM CXII.

1 *Duwioldeb sydd iddi addewid o'r bywyd
yma,* 4 *ac o'r bywyd a ddaw.* 10 *Y bydd
drwg gan yr enwir weled llwyddiant y duw-
iol.*

[2] MOLWCH yr ARGLWYDD. — [2] Heb. *Haleluiah.*
[a] Gwŷn *ei* fyd y gwr a ofna — [a] Ps. 128. 1.
yr ARGLWYDD, *ac* sydd yn hoffi ei
orchymynion ef yn ddirfawr.
2 Ei had fydd cadarn ar y ddae-
ar: cenhedlaeth y rhai uniawn a
fendithir.
3 Golud a chyfoeth *fydd* yn ei dŷ
ef: a'i gyfiawnder sydd yn parhâu
byth.
4 [b] Cyfyd goleuni i'r rhai uniawn — [b] Job 11. 17. Ps. 97. 11.
yn y tywyllwch: trugarog, a thost-
uriol, a chyfiawn, *yw efe.*
5 [c] Gwr da sydd gymmwynasgar, — [c] Ps. 37. 26. Luc 6. 35.
ac yn rhoddi benthyg: wrth farn
y llywodraetha efe ei achosion.
6 Yn ddïau nid ysgogir ef byth:

d Diar. 10. 7. — [d] y cyfiawn fydd byth mewn coff-
adwriaeth.
e Diar. 1. 33. — 7 [e] Nid ofna efe rhag chwedl
drwg: ei galon sydd ddisigl, yn
ymddiried yn yr ARGLWYDD.
8 Attegwyd ei galon: nid ofna
efe, hyd oni welo *ei ewyllys* ar ei
elynion.
f 2 Cor. 9. 9. — 9 [f] Gwasgarodd, rhoddodd i'r tlod-
ion; *a*'i gyfiawnder sydd yn parhâu
g Ps. 75. 10. — byth; [g] ei gorn a ddyrchefir mewn
gogoniant.
h Edrych Luc 13. 28. — 10 [h] Yr annuwiol a wêl *hyn*, ac a
i Ps. 37. 12. — ddigia; [i] efe a ysgyrnyga ei ddan-
k Ps. 58. 7, 8. — nedd, ac [k] a dawdd ymaith: [l] derfydd
l Diar. 10. 28. — am ddymuniad y rhai annuwiol.

## PSALM CXIII.

1 *Cynghor i foliannu Duw, o herwydd ei ardderchowgrwydd,* 6 *a'i drugaredd.*

2 Heb. *Haleluiah.* — [2] MOLWCH yr ARGLWYDD.
Gweision yr ARGLWYDD, mol-
wch, *ïe,* molwch enw yr ARGLWYDD.
a Dan. 2. 20. — 2 [a] Bendigedig fyddo enw yr AR-
GLWYDD o hyn allan ac yn dragy-
wydd.
b Es. 59. 19. Mal. 1. 11. — 3 [b] O godiad haul hyd ei fachludiad,
moliannus *yw* enw yr ARGLWYDD.
4 Uchel *yw* yr ARGLWYDD gor-
c Ps. 8. 1. — uwch yr holl genhedloedd; [c] *a*'i
ogoniant *sydd* goruwch y nefoedd.
d Ps. 89. 6. — 5 [d] Pwy *sydd* fel yr ARGLWYDD
3 Heb. *ymddyrchafu i breswylio?* — ein DUW ni, yr hwn sydd yn [3] pres-
wylio yn uchel,
e Ps. 138. 6. Es. 57. 15. — 6 [e] Yr hwn a ymddarostwng i
edrych *y pethau* yn y nefoedd, ac
yn y ddaear?
f 1 Sam. 2. 8. Ps. 107. 41. — 7 [f] Efe sydd yn codi y tlawd o'r
llwch, *ac* yn dyrchafu yr anghenus
o'r dommen,
g Job 36. 7. — 8 I'w [g] osod gyd â phendefigion,
*ïe,* gyd â phendefigion ei bobl.
h 1 Sam. 2. 5. Ps. 68. 6. — 9 [h] Yr hwn a wna i'r ammhlant-
4 Heb. *drigo mewn tŷ.* — adwy [4] gadw tŷ, *a bod* yn llawen fam
plant. Canmolwch yr ARGLWYDD.

## PSALM CXIV.

*Dafydd, trwy esampl y creaduriaid mudion, yn annog i ofni Duw yn ei eglwys.*

a Exod. 13. 3. — PAN [a] aeth Israel o'r Aipht, tŷ
b Ps. 81. 5. — Jacob [b] oddi wrth bobl anghyf-
iaith;
c Exod. 6. 7. a 19. 6. Deut. 27. 9. — 2 [c] Judah oedd ei sancteiddrwydd,
*ac* Israel ei arglwyddiaeth.
d Exod. 14. 21. Ps. 77. 16. — 3 [d] Y môr a welodd *hyn*, ac a gil-
e Jos. 3. 13, 16. — iodd; [e] yr Iorddonen a drodd yn ol.
f Ps. 29. 6. a 68. 16. — 4 [f] Y mynyddoedd a neidiasant
fel hyrddod, *a*'r bryniau fel ŵyn
defaid.
g Hab. 3. 8. — 5 [g] Beth *ddarfu* i ti, O fôr, pan
giliaist? tithau, Iorddonen, *paham*
y troaist yn ol?
6 *Paham,* fynyddoedd, y neidiech
fel hyrddod? *a*'r bryniau fel ŵyn
defaid?
7 Ofna, di ddaear, rhag yr AR-
GLWYDD, rhag DUW Jacob:
8 [h] Yr hwn sydd yn troi y graig — h Exod. 17. 6. Num. 20. 11. Ps. 107. 35.
*yn* llyn dwfr, *a*'r gallestr yn ffyn-
non dyfroedd.

## PSALM CXV.

1 *O herwydd bod Duw yn wir-ogoneddus,* 4 *ac eilunod yn wagedd,* 9 *y mae y Psalmydd yn cynghori rhoi hyder ar Dduw.* 12 *Y dylid bendithio Duw am ei fendithion.*

[a] NID i ni, O ARGLWYDD, nid i — a Edrych Es. 48. 11. Ezec. 36. 32.
ni, ond i'th enw dy hun dod
ogoniant, er mwyn dy drugaredd,
*ac* er mwyn dy wirionedd.
2 [b] Paham y dywedai y cenhedl- — b Ps. 42. 3. 10. a 79. 10. Joel 2. 17.
oedd, Pa le yn awr *y mae* eu DUW
hwynt?
3 Ond ein DUW ni *sydd* yn y
nefoedd: [c] efe a wnaeth yr hyn a — c Ps. 135. 6.
fynnodd oll.
4 [d] Eu delwau hwy *ydynt o* aur — d Deut. 4. 28. Ps. 135. 15. Jer. 10. 3, &c.
ac arian, gwaith dwylaw dynion.
5 Genau *sydd* iddynt, ond ni lef-
arant; llygaid *sydd* ganddynt, ond
ni welant:
6 *Y mae* clustiau iddynt, ond ni
chlywant; ffroenau *sydd* ganddynt,
ond ni aroglant:
7 Dwylaw *sydd* iddynt, ond ni
theimlant; traed *sydd* iddynt, ond
ni cherddant; ni leisiant chwaith
â'u gwddf.
8 Y rhai a'u gwnant ydynt fel
hwythau, *a* phob un a ymddiriedo
ynddynt.
9 [e] O Israel, ymddiried di yn yr — e Edrych Ps. 118. 1, 2, 3, 4. a 135. 12, 20.
ARGLWYDD: [f] efe *yw* eu porth a'u
tarian.
10 Tŷ Aaron, ymddiriedwch yn yr — f Ps. 33. 20. Diar. 30. 5.
ARGLWYDD: efe *yw* eu porth a'u
tarian.
11 Y rhai a ofnwch yr AR-
GLWYDD, ymddiriedwch yn yr AR-
GLWYDD: efe *yw* eu porth a'u
tarian.
12 Yr ARGLWYDD a'n cofiodd
ni: efe a'*n* bendithia: bendithia
efe dŷ Israel; bendithia efe dŷ
Aaron.
13 [g] Bendithia efe y rhai a ofn- — g Ps. 128. 1, 4.
ant yr ARGLWYDD, fychain [2] a mawr- — 2 Heb. *gyd â.*
ion.
14 Yr ARGLWYDD a'ch chwanega
chwi fwyfwy, chwychwi a'ch plant
hefyd.
15 Bendigedig *ydych* chwi gan
yr ARGLWYDD, yr hwn a wnaeth
nef a daear.
16 Y nefoedd, *ïe,* y nefoedd *ydynt*

eiddo yr ARGLWYDD: a'r ddaear a
roddes efe i feibion dynion.
[h] Ps. 6. 5. a 88. 10, 11, 12. Es. 38. 18. — 17 [h] Y meirw ni foliannant yr AR-
GLWYDD, na'r neb sydd yn disgyn
i ddistawrwydd.
[i] Dan. 2. 20. — 18 [i] Ond nyni a fendithiwn yr AR-
GLWYDD o hyn allan ac yn dragy-
wydd. Molwch yr ARGLWYDD.

## PSALM CXVI.

*1 Dafydd yn dangos ei gariad a'i ddyled tu ag at Dduw am ei wared ef: 12 ac yn ymegnïo i fod yn ddïolchgar.*

DA gennyf wrandaw o'r AR-
GLWYDD ar fy llef, *a'm*
gweddïau.
2 Am ostwng o hono ei glust at-
taf, am hynny llefaf dros fy nydd-
iau arno *ef.*
[a] Ps. 18. 5, 6. — 3 [a] Gofidion angau a'm cylchynas-
[2] Heb. *cawsant.* — ant, a gofidiau uffern a'm [2] dalias-
ant: ing a blinder a gefais.
4 Yna y gelwais ar enw yr AR-
GLWYDD; Attolwg, ARGLWYDD,
gwared fy enaid.
5 Graslawn *yw* yr ARGLWYDD,
a chyfiawn; a thosturiol *yw* ein
DUW ni.
6 Yr ARGLWYDD sydd yn cadw y
rhai annichellgar: tlodais, ac efe
a'm hachubodd.
7 Dychwel, O fy enaid, i'th or-
[b] Ps. 13. 6. — phwysfa; canys [b] yr ARGLWYDD fu
dda wrthyt.
[c] Ps. 56. 13. — 8 [c] O herwydd i ti waredu fy en-
aid oddi wrth angau, fy llygaid
oddi wrth ddagrau, *a'm* traed rhag
llithro.
9 Rhodiaf o flaen yr ARGLWYDD
[d] Ps. 27. 13. — [d] yn nhir y rhai byw.
[e] 2 Cor. 4. 13. — 10 [e] Credais, am hynny y lleferais:
cystuddiwyd fi yn ddirfawr.
[f] Ps. 31. 22. — 11 [f] Mi a ddywedais yn fy ffrwst,
[g] Rhuf. 3. 4. — [g] Pob dyn *sydd* gelwyddog.
12 Beth a dalaf i'r ARGLWYDD,
*am* ei holl ddoniau i mi?
13 Phïol iachawdwriaeth a gym-
meraf, ac ar enw yr ARGLWYDD y
galwaf.
[h] Ps. 22. 25. ad. 18. — 14 [h] Fy addunedau a dalaf i'r AR-
GLWYDD, yn awr y'ngŵydd ei holl
bobl ef.
[i] Ps. 72. 14. — 15 [i] Gwerthfawr y'ngolwg yr AR-
GLWYDD *yw* marwolaeth ei saint
ef.
[k] Ps. 143. 12. — 16 O ARGLWYDD, yn ddïau [k] dy was
di *ydwyf* fi; dy was di *ydwyf* fi,
[l] Ps. 86. 16. — [l] mab dy wasanaeth-wraig: dattod-
aist fy rhwymau.
[m] Lef. 7. 12. — 17 Aberthaf i ti [m] aberth moliant;
a galwaf ar enw yr ARGLWYDD.
[n] ad. 14. — 18 [n] Talaf fy addunedau i'r AR-
GLWYDD, yn awr y'ngŵydd ei holl
bobl,
19 Y'nghynteddoedd tŷ yr AR-
GLWYDD, yn dy ganol di, O Jerusa-
lem. Molwch yr ARGLWYDD.

## PSALM CXVII.

*Cynghor i foliannu Duw am ei drugaredd a'i wirionedd.*

[a] MOLWCH yr ARGLWYDD, yr — [a] Rhuf. 15. 11.
holl genhedloedd: clodfor-
wch ef, yr holl bobloedd.
2 O herwydd ei drugaredd ef tu
ag attom ni sydd fawr: a gwirion-
edd yr ARGLWYDD *a bery* yn dragy-
wydd. Molwch yr ARGLWYDD.

## PSALM CXVIII.

*1 Cynghor i foliannu Duw am ei drugaredd. 5 Y Psalmydd, wrth a brofasai efe ei hun, yn dangos mor dda ydyw hyderu ar Dduw. 19 Mynegi dyfodiad Crist yn ei deyrnas, dan rith a chysgod y Psalmydd.*

[a] CLODFORWCH yr ARGLWYDD; — [a] 1 Chron. 16. 8.
canys da *yw:* o herwydd ei — Ps. 106. 1.
drugaredd *a bery* yn dragywydd. — a 107. 1. a 136. 1.
2 [b] Dyweded Israel yr awr hon, — [b] Edrych Ps. 115. 9, &c.
fod ei drugaredd ef *yn parhâu* yn
dragywydd.
3 Dyweded tŷ Aaron yn awr, fod
ei drugaredd ef *yn parhâu* yn
dragywydd.
4 Yn awr dyweded y rhai a ofn-
ant yr ARGLWYDD, fod ei drugar-
edd ef *yn parhâu* yn dragywydd.
5 [c] [2] Mewn ing y gelwais ar yr — [c] Ps. 120. 1.
ARGLWYDD; yr ARGLWYDD a'm — [2] Heb. *Allan o ing.*
clybu, *ac* [d] *a'm gosododd* mewn — [d] Ps. 18. 19.
ehangder.
6 [e] Yr ARGLWYDD *sydd* gyd â mi, — [e] Ps. 27. 1. a 56. 4, 11.
nid ofnaf: beth a wna dyn i mi?
7 [f] Yr ARGLWYDD *sydd* gyd â mi — [f] Es. 51. 12. Heb. 13. 6.
ym mhlith fy nghynnorthwywyr:
am hynny y caf weled *fy ewyllys* ar
fy nghaseion.
8 [g] Gwell *yw* gobeithio yn yr AR- — [g] Ps. 54. 4. a 40. 4.
GLWYDD, nag ymddiried mewn dyn. — a 62. 8, 9. Jer. 17. 5, 7.
9 [h] Gwell *yw* gobeithio yn yr AR- — [h] Ps. 146. 3.
GLWYDD, nag ymddiried mewn ty-
wysogion.
10 Yr holl genhedloedd a'm ham-
gylchynasant: ond yn enw yr AR-
GLWYDD mi a'u torraf hwynt ym-
aith.
11 Amgylchynasant fi; ïe, am-
gylchynasant fi: ond yn enw yr
ARGLWYDD mi a'u torraf hwynt
ymaith.
12 Amgylchynasant fi [i] fel gwenyn; — [i] Deut. 1. 44.
diffoddasant [k] fel tân drain: o her- — [k] Preg. 7. 6.
wydd yn enw yr ARGLWYDD mi a'u
torraf hwynt ymaith.
13 Gan wthio y gwthiaist fi, fel y

syrthiwn: ond yr ARGLWYDD a'm
cynnorthwyodd.
[l] Exod. 15. 2. Es. 12. 2.
14 [l] Yr ARGLWYDD *yw* fy nerth
a'*m* cân; ac sydd iachawdwriaeth
i mi.
15 Llef gorfoledd a iachawdwr-
iaeth *sydd* ym mhebyll y cyfiawn:
deheulaw yr ARGLWYDD sydd yn
gwneuthur grymmusder.
16 Deheulaw yr ARGLWYDD a
ddyrchafwyd: deheulaw yr AR-
GLWYDD sydd yn gwneuthur grym-
musder.
[m] Ps. 6. 5. Hab. 1. 12.
17 [m] Ni byddaf farw, ond byw;
a mynegaf weithredoedd yr AR-
GLWYDD.
18 Gan gospi y'm cospodd yr AR-
GLWYDD: ond ni'm rhoddodd i
farwolaeth.
[n] Es. 26. 2.
19 [n] Agorwch i mi byrth cyfiawn-
der: âf i mewn iddynt, *a* chlodfor-
af yr ARGLWYDD.
[o] Es. 35. 8. Dat. 21. 27. a 22. 14, 15.
20 Dyma borth yr ARGLWYDD; [o] y
rhai cyfiawn a ânt i mewn iddo.
21 Clodforaf di; o herwydd i ti
fy ngwrandaw, a'th fod yn iach-
awdwriaeth i mi.
[p] Matt. 21. 42. Marc 12. 10. Luc 20. 17. Act. 4. 11. Eph. 2. 20. 1 Petr 2. 4, 7.
22 [p] Y maen a wrthododd yr adeil-
adwyr, a aeth yn ben i'r gongl.
23 O'r ARGLWYDD y daeth hyn;
hyn *oedd* ryfedd yn ein golwg ni.
24 Dyma y dydd a wnaeth yr
ARGLWYDD; gorfoleddwn a llawen-
ychwn ynddo.
25 Attolwg, ARGLWYDD, achub yn
awr: attolwg, ARGLWYDD, pâr yn
awr lwyddiant.
[q] Matt. 21. 9. a 23. 39. Marc 11. 9. Luc 19. 38. Edrych Zech. 4. 7.
26 [q] Bendigedig *yw* a ddêl yn enw
yr ARGLWYDD: bendithiasom chwi
o dŷ yr ARGLWYDD.
27 DUW *yw* yr ARGLWYDD, yr
hwn a lewyrchodd i ni: rhwymwch
yr aberth â rhaffau, hyd wrth gyrn
yr allor.
28 Fy NUW *ydwyt* ti, a mi a'th
glodforaf: dyrchafaf di, fy NUW.
29 Clodforwch yr ARGLWYDD;
canys da *yw:* o herwydd yn dragy-
wydd *y pery* ei drugaredd ef.

## PSALM CXIX.

*Y Psalm hon sydd yn cynnwys amryw weddïau, a moliannau, ac addewidion ufudd-dod.*

ALEPH.

[a] Ps. 128. 1.
GWYN fyd y rhai perffaith *eu*
ffordd, [a] y rhai a rodiant yng
nghyfraith yr ARGLWYDD.
2 Gwŷn fyd y rhai a gadwant ei
dystiolaethau ef; *ac* a'i ceisiant ef
â'u holl galon.
[b] 1 Ioan 3. 9. a 5. 18.
3 [b] Y rhai hefyd ni wnant anwir-
edd, hwy a rodiant yn ei ffyrdd ef.
4 Ti a orchymynaist gadw dy or-
chymynion yn ddyfal.
5 O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw
dy ddeddfau!
6 Yna ni'm gwaradwyddid, pan
edrychwn ar dy holl orchymynion.
7 [c] Clodforaf di âg uniondeb cal- [c] ad. 171.
on, pan ddysgwyf farnedigaethau
dy gyfiawnder.
8 Cadwaf dy ddeddfau; O na âd
fi yn hollol.

BETH.

9 Pa fodd y glanhâ llangc ei
lwybr? wrth ymgadw yn ol dy
air di.
10 A'm holl galon y'th geisiais:
na âd i mi gyfeiliorni oddi wrth dy
orchymynion.
11 [d] Cuddiais dy ymadroddion yn [d] Ps. 37. 31. Luc 2. 19, 51.
fy nghalon, fel na phechwn i'th
erbyn.
12 Ti, ARGLWYDD, *wyt* fendiged-
ig: [e] dysg i mi dy ddeddfau. [e] ad. 26. 33, 64, 68, 108, 124, 135.
13 A'm gwefusau y treuthais holl
farnedigaethau dy enau.
14 Bu mor llawen gennyf ffordd
dy dystiolaethau, a'r holl olud.
15 Yn dy orchymynion y myfyriaf,
ac ar dy lwybrau yr edrychaf.
16 Yn dy ddeddfau yr ymddigrif-
af: nid anghofiaf dy air.

GIMEL.

17 Bydd dda wrth dy was, *fel* y
byddwyf byw, ac y cadwyf dy air.
18 Datguddia fy llygaid, fel y
gwelwyf bethau rhyfedd allan o'th
gyfraith di.
19 [f] Dïeithr *ydwyf* fi ar y ddaear: [f] Gen. 47. 9. 1 Chr. 29. 15. Ps. 39. 12. 2 Cor. 5. 6. Heb. 11. 13.
na chudd di rhagof dy orchymynion.
20 [g] Drylliwyd fy enaid gan awydd [g] Ps. 42. 1, 2. a 63. 1. a 84. 2.
i'th farnedigaethau bob amser.
21 Ceryddaist y beilchion [2] mell- [2] Neu, *a melldigedig yw y rhai,* &c.
digedig, y rhai a gyfeiliornant oddi
wrth dy orchymynion.
22 Tro oddi wrthyf gywilydd a
dirmyg: oblegid dy dystiolaethau
di a gedwais.
23 Tywysogion hefyd a eistedd-
asant, *ac* a ddywedasant i'm her-
byn: dy was dithau a fyfyriai yn
dy ddeddfau.
24 [h] A'th dystiolaethau *oeddynt* fy [h] ad. 77, 92.
hyfrydwch *a'*m cynghorwyr.

DALETH.

25 [i] Glynodd fy enaid wrth y llwch: [i] Ps. 44. 25.
[k] bywhâ fi yn ol dy air. [k] ad. 40. Ps. 143. 11.
26 Fy ffyrdd a fynegais, a gwran-
dewaist fi: [l] dysg i mi dy ddeddfau. [l] ad. 12. Ps. 25. 4. a 27. 11. a 86. 11.
27 Gwna i mi ddeall ffordd dy or-
chymynion; a mi a fyfyriaf yn dy
ryfeddodau.

[m] Ps. 107. 26. 28 [m] Diferodd fy enaid gan ofid:
nertha fi yn ol dy air.
29 Cymmer oddi wrthyf ffordd y
celwydd; ac yn raslawn dod i mi
dy gyfraith.
30 Dewisais ffordd gwirionedd:
gosodais dy farnedigaethau *o'm
blaen.*
31 Glynais wrth dy dystiolaethau:
O ARGLWYDD, na'm gwaradwydda.
32 Ffordd dy orchymynion a redaf,
[n] Es. 60. 5. pan [n] ehangech fy nghalon.

HE.

[o] ad. 12. 33 [o] Dysg i mi, O ARGLWYDD,
ffordd dy ddeddfau, a chadwaf hi
*hyd* y diwedd.
34 Gwna i mi ddeall, a chadwaf
dy gyfraith; ïe, cadwaf hi *â'm* holl
galon.
35 Gwna i mi gerdded yn llwybr
dy orchymynion: canys ynddo y
mae fy ewyllys.
36 Gostwng fy nghalon at dy dyst-
iolaethau, ac nid at gybydd-dra.
[p] Es. 33. 15. 37 [p] Tro heibio fy llygaid, rhag
[q] Diar. 23. 5. [q] edrych ar wagedd; *a* bywhâ fi yn
dy ffyrdd.
38 Sicrhâ dy air i'th was, yr hwn
*sydd yn ymroddi* i'th ofn di.
39 Tro heibio fy ngwaradwydd yr
wyf yn ei ofni: canys dy farnedig-
aethau *sydd* dda.
40 Wele, awyddus ydwyf i'th or-
[r] ad. 25, 83, 107, 149, 156, 159. chymynion: [r] gwna i mi fyw yn dy
gyfiawnder.

FAU.

41 Deued i mi dy drugaredd, AR-
GLWYDD, *a'*th iachawdwriaeth yn
ol dy air.
[3] Neu, *yr attebaf beth i'r hwn a'm ceryddo.* 42 Yna [3] yr attebaf i'm cablydd:
o herwydd yn dy air y gobeithiais.
43 Na ddwg dithau air y gwirionedd
o'm genau yn llwyr: o herwydd yn
dy farnedigaethau di y gobeithiais.
44 A'th gyfraith a gadwaf yn was-
tadol, byth ac yn dragywydd.
45 Rhodiaf hefyd mewn ehang-
der: o herwydd dy orchymynion
di a geisiaf.
[s] Ps. 138. 1. Matt. 10. 18, 19. 46 [s] Ac am dy dystiolaethau di y
llefaraf o flaen brenhinoedd, ac ni
bydd cywilydd gennyf.
47 Ac ymddigrifaf yn dy orchy-
mynion, y rhai a hoffais.
48 A'm dwylaw a ddyrchafaf at
dy orchymynion, y rhai a gerais; a
mi a fyfyriaf yn dy ddeddfau.

ZAIN.

49 Cofia y gair wrth dy was, yn yr
hwn y peraist i mi obeithio.
50 Dyma fy nghysur yn fy nghys-
tudd: canys dy air di a'm bywha-
odd i.
51 Y beilchion a'm gwatwarasant
yn ddirfawr: *er hynny* ni throais
oddi wrth dy gyfraith di.
52 Cofiais, O ARGLWYDD, dy farn-
edigaethau erioed; ac ymgysurais.
53 Dychryn a ddaeth arnaf, obleg-
id yr annuwiolion, y rhai sydd yn
gadu dy gyfraith di.
54 Dy ddeddfau oedd fy nghân yn
nhŷ fy mhererindod.
55 [t] Cofiais dy enw, ARGLWYDD, y [t] Ps. 63. 6.
nos; a chedwais dy gyfraith.
56 Hyn oedd gennyf, am gadw o
honof dy orchymynion di.

CHETH.

57 [u] O ARGLWYDD, fy rhan *ydwyt;* [u] Ps. 16. 5. Jer. 10. 16. Galar. 3. 24.
dywedais y cadwn dy eiriau.
58 Ymbiliais â'th wyneb *â'm* holl
galon: trugarhâ wrthyf yn ol dy air.
59 Meddyliais am fy ffyrdd, a
throais fy nhraed at dy dystiolaeth-
au di.
60 Brysiais, ac nid oedais gadw
dy orchymynion.
61 [4] Minteioedd yr annuwiolion a'm [4] Neu, *Byddinoedd.*
hyspeiliasant: *ond* nid anghofiais
dy gyfraith di.
62 Hanner nos y cyfodaf i'th fol-
iannu, am farnedigaethau dy gyf-
iawnder.
63 Cyfaill *ydwyf* fi i'r rhai oll
a'th ofnant, ac i'r rhai a gadwant
dy orchymynion.
64 Llawn yw y ddaear o'th dru-
garedd, O ARGLWYDD: [x] dysg i mi [x] ad. 12, 26.
dy ddeddfau.

TETH.

65 Gwnaethost yn dda â'th was,
O ARGLWYDD, yn ol dy air.
66 Dysg i mi iawn ddeall a gwyb-
odaeth: o herwydd dy orchymyn-
ion di a gredais.
67 [y] Cyn fy nghystuddio yr oedd- [y] ad. 71. Jer. 31. 18, 19.
wn yn cyfeiliorni: ond yn awr
cedwais dy air di.
68 Da *ydwyt*, a daionus: [z] dysg [z] ad. 12, 26.
i mi dy ddeddfau.
69 Y beilchion a glytiasant gel-
wydd i'm herbyn; minnau a gadwaf
dy orchymynion *â'm* holl galon.
70 [a] Cyn frased a'r bloneg yw eu [a] Ps. 17. 10. Es. 6. 10.
calon: minnau a ymddigrifais yn
dy gyfraith di.
71 [b] Da *yw* i mi fy nghystuddio; [b] ad. 67. Heb. 12. 10, 11.
fel y dysgwn dy ddeddfau.
72 [c] Gwell i mi gyfraith dy enau, [c] ad. 127. Ps. 19. 10. Diar. 8. 11.
na miloedd o aur ac arian.

IOD.

73 [d] Dy ddwylaw a'm gwnaethant, [d] Job 10. 8. Ps. 100. 3. a 138. 8.

ac a'm lluniasant: pâr i mi ddeall,
fel y dysgwyf dy orchymynion.
74 [e] Y rhai a'th ofnant a'm gwel-
ant, ac a lawenychant; oblegid go-
beithio o honof yn dy air di.
75 Gwn, ARGLWYDD, mai [5] cyfiawn
*yw* dy farnedigaethau; ac [f] *mai*
mewn ffyddlondeb y'm cystuddiaist.
76 Bydded, attolwg, dy drugaredd
i'm cysuro, yn ol dy air i'th wasan-
aethwr.
77 Deued i mi dy drugareddau,
fel y byddwyf byw; o herwydd [g] dy
gyfraith *yw* fy nigrifwch.
78 Cywilyddier y beilchion, canys
gwnant gam â mi yn ddïachos:
*ond* myfi a fyfyriaf yn dy orchy-
mynion di.
79 Tröer attaf fi y rhai a'th ofnant
di, a'r rhai a adwaenant dy dystiol-
aethau.
80 Bydded fy nghalon yn ber-
ffaith yn dy ddeddfau; fel na'm
cywilyddier.

CAPH.

81 [h] Diffygiodd fy enaid am dy
iachawdwriaeth: wrth dy air yr
ydwyf yn disgwyl.
82 [i] Y mae fy llygaid yn pallu am
dy air, gan ddywedyd, Pa bryd y'm
diddeni?
83 Canys [k] ydwyf fel costrel mewn
mwg; *ond* nid anghofiais dy
ddeddfau.
84 [l] Pa nifer *yw* dyddiau dy was?
pa bryd y gwnei farn ar y rhai a'm
herlidiant?
85 [m] Y beilchion a gloddiasant
byllau i mi, yr hyn nid *yw* wrth
dy gyfraith di.
86 Dy holl orchymynion *ydynt*
[6] wirionedd: ar gam y'm herlidias-
ant; cymmorth fi.
87 Braidd na'm difasant ar y
ddaear; minnau ni adewais dy
orchymynion.
88 [n] Bywhâ fi yn ol dy drugaredd;
felly y cadwaf dystiolaeth dy enau.

LAMED.

89 [o] Yn dragywydd, O ARGLWYDD,
y mae dy air wedi ei sicrhâu yn y
nefoedd.
90 Dy wirionedd *sydd* hyd gen-
hedlaeth a chenhedlaeth: seiliaist
y ddaear, a hi a saif.
91 Wrth dy farnedigaethau y saf-
ant heddyw: canys dy weision *yw*
pob peth.
92 Oni bai *fod* [p] dy ddeddf yn
hyfrydwch i mi, darfuasai yna am
danaf yn fy nghystudd.

93 Byth nid anghofiaf dy orchymyn-
ion: canys â hwynt y'm bywheaist.
94 Eiddot ti *ydwyf*, cadw fi: o
herwydd dy orchymynion a geisiais.
95 Y rhai annuwiol a ddisgwylias-
ant am danaf i'm difetha: *ond* dy
dystiolaethau di a ystyriaf fi.
96 [q] Yr ydwyf yn gweled diwedd
ar bob perffeithrwydd: *ond* dy
orchymyn di *sydd* dra ehang.

MEM.

97 Mor gu gennyf dy gyfraith di!
[r] hi *yw* fy myfyrdod [7] beunydd.
98 A'th orchymynion yr ydwyt yn
fy ngwneuthur yn ddoethach na'm
gelynion: canys byth *y* [8] *maent* gyd
â mi.
99 Deallais fwy na'm holl athraw-
on: o herwydd dy dystiolaethau
*yw* fy myfyrdod.
100 Deallais yn well na'r henur-
iaid, am fy mod yn cadw dy orchy-
mynion di.
101 Atteliais fy nhraed oddi wrth
bob llwybr drwg, fel y cadwn dy
air di.
102 Ni chiliais oddi wrth dy farned-
igaethau: o herwydd ti a'm dysgaist.
103 [s] Mor felus yw dy eiriau [9] i'm
genau! *melusach* na mêl i'm safn.
104 Trwy dy orchymynion di y
pwyllais: am hynny [t] y caseais bob
gau lwybr.

NUN.

105 [2] [u] Llusern *yw* dy air i'm traed,
a llewyrch i'm llwybr.
106 [x] Tyngais, a chyflawnaf, y cad-
wn farnedigaethau dy gyfiawnder.
107 Cystuddiwyd fi yn ddirfawr:
[y] bywhâ fi, O ARGLWYDD, yn ol dy air.
108 Attolwg, ARGLWYDD, bydd
foddlawn i ewyllysgar offrymmau
fy ngenau, a [z] dysg i mi dy farned-
igaethau.
109 [a] *Y mae* fy enaid yn fy llaw
yn wastadol: er hynny nid wyf yn
anghofio dy gyfraith.
110 [b] Y rhai annuwiol a osodasant
fagl i mi: ond ni chyfeiliornais
oddi wrth dy orchymynion.
111 [c] Cymmerais dy orchymynion
yn etifeddiaeth dros byth: o her-
wydd [d] llawenydd fy nghalon *ydynt*.
112 Gostyngais fy nghalon i wneuth-
ur dy ddeddfau byth, *hyd* y diwedd.

SAMECH.

113 Meddyliau *ofer* a gaseais; a'th
gyfraith di a hoffais.
114 [e] Fy lloches a'm tarian *ydwyt:*
yn dy air y gobeithiaf.
115 [f] Ciliwch oddi wrthyf, rai dryg-

e Ps. 34. 2.
5 Heb. *cyfiawnder.*
f Heb. 12. 10.
g ad. 24, 47, 174.
h Ps. 73. 26. a 84. 2.
i ad. 123. Ps. 69. 3.
k Job 30. 30.
l Ps. 39. 4.
m Ps. 35. 7.
6 Neu, *ffyddlondeb.*
n ad. 40.
o Ps. 89. 2. Matt. 24. 34, 35.
p ad. 24.
q Matt. 5. 18. a 24. 35.
r Ps. 1. 2.
7 *ar hyd y dydd.*
8 Heb. mae.
s Ps. 19. 10. Diar. 8. 11.
9 Heb. *i daflod fy ngenau!*
t ad. 128.
2 Neu, *Canwyll.*
u Diar. 6. 23.
x Neh. 10. 29.
y ad. 88.
z ad. 12, 26.
a Job 13. 14.
b Ps. 140. 5. a 141. 9.
c Deut. 33. 4.
d ad. 77, 92, 174.
e Ps. 32. 7. a 91. 1.
f Ps. 6. 8. a 139. 19. Matt. 7. 23.

ionus: canys cadwaf orchymynion fy NUW.

116 Cynnal fi yn ol dy air, fel y byddwyf byw: ac na âd i mi gywilyddio am fy ngobaith.

117 Cynnal fi, a dïangol fyddaf: ac ar dy ddeddfau yr edrychaf yn wastadol.

118 Sethraist y rhai oll a gyfeiliornant oddi wrth dy ddeddfau: canys twyllodrus *yw* eu dichell hwynt.

119 [3]Bwriaist heibio holl annuwiolion y tir [g]*fel* sothach: am hynny yr hoffais dy dystiolaethau.

120 [h]Dychrynodd fy nghnawd rhag dy ofn, ac ofnais rhag dy farnedigaethau.

AIN.

121 Gwneuthum farn a chyfiawnder: na âd fi i'm gorthrymmwyr.

122 Mechnïa dros dy was er daioni: na âd i'r beilchion fy ngorthrymmu.

123 [i]Fy llygaid a ballasant am dy iachawdwriaeth, ac am ymadrodd dy gyfiawnder.

124 Gwna i'th was yn ol dy drugaredd, a [k]dysg i mi dy ddeddfau.

125 Dy was *ydwyf* fi; pâr i mi ddeall, fel y gwypwyf dy dystiolaethau.

126 Amser *yw* i'r ARGLWYDD weithio: diddymmasant dy gyfraith di.

127 [l]Am hynny yr hoffais dy orchymynion yn fwy nag aur; ïe, yn fwy nag aur coeth.

128 Am hynny uniawn y cyfrifais *dy* orchymynion *am* bob *peth; a* [m]chaseais bob gau lwybr.

PE.

129 Rhyfedd *yw* dy dystiolaethau: am hynny y ceidw fy enaid hwynt.

130 Agoriad dy eiriau a rydd oleuni: [n]pair ddeall i rai annichellgar.

131 Agorais fy ngenau, a dyheais: oblegid awyddus oeddwn i'th orchymynion di.

132 [o]Edrych arnaf, a thrugarhâ wrthyf, [p]yn ol dy arfer [4]i'r rhai a garant dy enw.

133 [q]Cyfarwydda fy nghamrau yn dy air: ac [r]na lywodraethed dim anwiredd arnaf.

134 Gwared fi oddi wrth orthrymder dynion: felly y cadwaf dy orchymynion.

135 [s]Llewyrcha dy wyneb ar dy was: a [t]dysg i mi dy ddeddfau.

136 [u]Afonydd o ddyfroedd a redant o'm llygaid, am na chadwasant dy gyfraith di.

[3] Heb. *Gwnaethost i holl, &c. ddarfod fel, &c.*
[g] Ezec. 22. 18.
[h] Hab. 3. 16.
[i] ad. 81, 82.
[k] ad. 12.
[l] ad. 72. Ps. 19. 10. Diar. 8. 11.
[m] ad. 104.
[n] Ps. 19. 7.
[o] Ps. 106. 4.
[p] 2 Thess. 1. 6, 7.
[4] Neu, *tuag at y rhai.*
[q] Ps. 17. 5.
[r] Ps. 19. 13. Rhuf. 6. 12.
[s] Ps. 4. 6.
[t] ad. 12, 26.
[u] Jer. 9. 1. a 14. 17. Edrych Ezec. 9. 4.

TSADI.

137 Cyfiawn *ydwyt* ti, O ARGLWYDD, ac uniawn *yw* dy farnedigaethau.

138 Dy dystiolaethau *y rhai* a orchymynaist, *ydynt* [5]gyfiawn, a ffyddlawn iawn.

139 [x]Fy zêl a'm [6]difaodd; o herwydd i'm gelynion anghofio dy eiriau di.

140 [y]Purwyd dy ymadrodd yn ddirfawr: am hynny y mae dy was yn ei hoffi.

141 Bychan *ydwyf* fi, a dirmygus: *ond* nid anghofiais dy orchymynion.

142 Dy gyfiawnder *sydd* gyfiawnder byth, a'th gyfraith *sydd* wirionedd.

143 Adfyd a chystudd a'm [7]goddiweddasant: *a'*th orchymynion *oedd* fy nigrifwch.

144 Cyfiawnder dy dystiolaethau *a bery* yn dragywydd: gwna i mi ddeall, a byw fyddaf.

COPH.

145 Llefais â'*m* holl galon; clyw fi, O ARGLWYDD: dy ddeddfau a gadwaf.

146 Llefais arnat; achub fi, [8]a chadwaf dy dystiolaethau.

147 [z]Achubais flaen y cyfddydd, a gwaeddais; wrth dy air y disgwyliais.

148 [a]Fy llygaid a achubasant flaen gwyliadwriaethau *y nos*, i fyfyrio yn dy air di.

149 Clyw fy llef yn ol dy drugaredd: ARGLWYDD, [b]bywhâ fi yn ol dy farnedigaethau.

150 Y rhai a ddilynant ysgelerder a nesasant *arnaf:* ymbellasant oddi wrth dy gyfraith di.

151 Tithau, ARGLWYDD, *wyt* agos; a'th holl orchymynion *sydd* wirionedd.

152 Er ys talm y gwyddwn am dy dystiolaethau, seilio o honot hwynt yn dragywydd.

RESH.

153 Gwel fy nghystudd, a gwared fi: canys nid anghofiais dy gyfraith.

154 [c]Dadleu fy nadl, a gwared fi: [d]bywhâ fi yn ol dy air.

155 [e]Pell *yw* iachawdwriaeth oddi wrth y rhai annuwiol: o herwydd ni cheisiant dy ddeddfau di.

156 Dy drugareddau, ARGLWYDD, *sydd* aml: [f]bywhâ fi yn ol dy farnedigaethau.

157 Llawer *sydd* yn fy erlid, ac

[5] Heb. *gyfiawnder a ffyddlondeb.*
[x] Ps. 69. 9. Ioan 2. 17.
[6] Heb. *torrodd ymaith.*
[y] Ps. 12. 6. a 18. 30. Diar. 30. 5.
[7] Heb. *cawsant.*
[8] Neu, *fel y cadwyf.*
[z] Ps. 5. 3. a 130. 6.
[a] Ps. 63. 1, 6.
[b] ad. 40, 154.
[c] Ps. 35. 1. Mic. 7. 9.
[d] ad. 40.
[e] Job 5. 4.
[f] ad. 149.

yn fy ngwrthwynebu; *er hynny* ni
throais oddi wrth dy dystiolaethau.
158 Gwelais y troseddwyr, a gres-
ynais; am na chadwent dy air di.
159 Gwel fy mod yn hoffi dy or-
g ad. 88. chymynion: ARGLWYDD, [g] bywhâ fi
yn ol dy drugarowgrwydd.
9 Heb. *Dechreuad dy air sydd wirionedd.* 160 [9] Gwirionedd *o'r* dechreuad *yw*
dy air; a phob un o'th gyfiawn farn-
edigaethau *a bery* yn dragywydd.

SCHIN.

161 Tywysogion a'm herlidiasant
heb achos: er hynny fy nghalon a
grynai rhag dy air di.
162 Llawen ydwyf fi oblegid dy
air, fel un yn cael ysglyfaeth lawer.
163 Celwydd a gaseais, ac a ffieidd-
iais: *a*'th gyfraith di a hoffais.
164 Seithwaith yn y dydd yr yd-
wyf yn dy glodfori; o herwydd dy
gyfiawn farnedigaethau.
h Diar. 3. 2. 165 [h] Heddwch mawr fydd i'r rhai
a garant dy gyfraith: ac nid *oes*
dramgwydd iddynt.
i Gen. 49. 18. ad. 174. 166 [i] Disgwyliais wrth dy iach-
awdwriaeth di, O ARGLWYDD; a
gwneuthum dy orchymynion.
167 Fy enaid a gadwodd dy
dystiolaethau; a hoff iawn gennyf
hwynt.
168 Cedwais dy orchymynion a'th
dystiolaethau: canys *y mae* fy holl
ffyrdd ger dy fron di.

TAU.

169 Nesâed fy ngwaedd o'th flaen,
ARGLWYDD: gwna i mi ddeall yn
ol dy air.
170 Deued fy ngweddi ger dy
fron: gwared fi yn ol dy air.
k ad. 7. 171 [k] Fy ngwefusau a draetha fol-
iant, pan ddysgech i mi dy ddeddf-
au.
172 Fy nhafod a ddatgan dy air:
o herwydd dy holl orchymynion
*sydd* gyfiawnder.
173 Bydded dy law i'm cynnorth-
l Jos. 24. 22. Diar. 1. 29. wyo: o herwydd [l] dy orchymynion
di a ddewisais.
m ad. 166. 174 [m] Hiraethais, O ARGLWYDD,
n ad. 16, 24, 47, 77, 111. am dy iachawdwriaeth; [n] a'th gyf-
raith *yw* fy hyfrydwch.
175 Bydded byw fy enaid, fel y'th
folianno di; a chynnorthwyed dy
farnedigaethau fi.
o Es. 53. 6. Luc 15. 4, &c. 176 [o] Cyfeiliornais fel dafad wedi
colli: cais dy was; oblegid nid ang-
hofiais dy orchymynion.

## PSALM CXX.

1 *Dafydd yn gweddïo yn erbyn Dōeg;* 3 *yn ceryddu ei dafod ef:* 5 *yn cwyno fod yn rhaid iddo gytial a bucheddu gyd â'r anwir.*

Caniad y graddau.

AR yr ARGLWYDD y gwaeddais Cylch 1058.
[a] yn fy nghyfyngder, ac efe a Ps. 118. 5. Jonah 2. 2.
a'm gwrandawodd i.
2 ARGLWYDD, gwared fy enaid
oddi wrth wefusau celwyddog, *ac*
oddi wrth dafod twyllodrus.
3 [2] Beth a roddir i ti? neu pa beth 2 Neu, *Beth a rydd tafod twyllodrus i ti?* neu, *beth a ychwanega i ti?*
a wneir i ti, dydi dafod twyllodrus?
4 Llymion saethau cawr, ynghyd
â marwor meryw.
5 Gwae fi, fy mod yn preswylio
ym Mesech, yn cyfanneddu [b] ym b 1 Sam. 25. 1. Jer. 49. 29.
mhebyll Cedar.
6 Hir y trigodd fy enaid gyd â'r
hwn oedd yn casâu tangnefedd.
7 Heddychol *ydwyf* fi: ond pan
lefarwyf, *y maent yn barod* i ryfel.

## PSALM CXXI.

*Mawr ddïogelwch y duwiol, sydd yn hyderu ar nawdd ac amddiffyn Duw.*

Caniad y graddau.

[2] DYRCHAFAF fy llygaid i'r 2 Neu, *A ddyrchafaf fi.* Edrych Jer. 3. 23.
mynyddoedd, o'r lle y daw fy
nghymmorth.
2 [a] Fy nghymmorth *a ddaw* oddi a Ps. 124. 8.
wrth yr ARGLWYDD, yr hwn a
wnaeth nefoedd a daear.
3 Ni âd efe i'th droed lithro: ac
[b] ni huna dy geidwad. b Ps. 127. 1. Es. 27. 3.
4 Wele, ni huna ac ni chwsg ceid-
wad Israel.
5 Yr ARGLWYDD *yw* dy geidwad:
yr ARGLWYDD *yw* [c] dy gysgod [d] ar c Es. 25. 4. d Ps. 16. 8. a 109. 31.
dy ddeheulaw.
6 [e] Ni'th dery yr haul y dydd, e Ps. 91. 5. Es. 49. 10. Dat. 7. 16.
na'r lleuad y nos.
7 Yr ARGLWYDD a'th geidw rhag
pob drwg: efe a geidw dy enaid.
8 Yr ARGLWYDD [f] a geidw dy f Deut. 28. 6.
fynediad a'th ddyfodiad, o'r pryd
hwn hyd yn dragywydd.

## PSALM CXXII.

1 *Dafydd yn dangos ei lawenydd dros yr eglwys;* 6 *ac yn gweddïo am heddwch iddi.*

Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

LLAWENYCHAIS pan ddywed-
ent wrthyf, Awn i dŷ yr AR-
GLWYDD.
2 Ein traed a safant o fewn dy
byrth di, O Jerusalem.
3 Jerusalem a adeiladwyd fel dinas
[a] wedi ei chyd-gyssylltu ynddi ei hun. a Edrych 2 Sam. 5. 9.
4 [b] Yno yr esgyn y llwythau, llwyth- b Exod. 23. 17. Deut. 16. 16.
au yr ARGLWYDD, [c] yn dystiolaeth i
Israel, i foliannu enw yr ARGLWYDD. c Exod. 16. 34.
5 Canys yno [2] y gosodwyd gorsedd- 2 Heb. *yr eistedd.*
feingciau barn, gorsedd-feingciau tŷ
Dafydd.
6 Dymunwch heddwch Jerusalem:
llwydded y rhai a'th hoffant.

7 Heddwch fyddo o fewn dy rag-
fur, *a* ffyniant yn dy balasau.
8 Er mwyn fy mrodyr a'm cyfeill-
ion y dywedaf yn awr, Heddwch
*fyddo* i ti.
9 Er mwyn tŷ yr ARGLWYDD ein
d Neh. 2. 10. DUW, [d] y ceisiaf i ti ddaioni.

## PSALM CXXIII.

1 *Y duwiol yn dangos eu hyder ar Dduw; 3 ac yn gweddïo ar gael eu gwared oddi wrth ddirmyg.*

Caniad y graddau.

a Ps. 121. 1. ATTAT [a] ti y dyrchafaf fy llygaid,
b Ps. 115. 3. ti yr hwn [b] a breswyli yn y
nefoedd.
2 Wele, fel *y mae* llygaid gweision
ar law eu meistriaid, *neu* fel *y mae*
llygaid llaw-forwyn ar law ei meistr-
es; felly *y mae* ein llygaid ni ar
yr ARGLWYDD ein DUW, hyd oni
thrugarhao efe wrthym ni.
3 Trugarhâ wrthym, ARGLWYDD,
trugarhâ wrthym; canys llanwyd
ni â dirmyg yn ddirfawr.
4 Yn ddirfawr y llanwyd ein hen-
aid â gwatwargerdd y rhai goludog,
*ac* â dïystyrwch y beilchion.

## PSALM CXXIV.

*Yr eglwys yn bendithio Duw am ei ryfeddol ymwared.*

Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

ONI *buasai* yr ARGLWYDD yr
a Ps. 129. 1. hwn a fu gyd â ni, [a] y gall Is-
rael ddywedyd yn awr;
2 Oni *buasai* yr ARGLWYDD yr
hwn a fu gyd â ni, pan gyfododd
dynion yn ein herbyn:
3 Yna y'n llyngcasent ni yn fyw,
pan ennynodd eu llid hwynt i'n
herbyn:
4 Yna y dyfroedd a lifasai drosom,
y ffrwd a aethai dros ein henaid:
5 Yna yr aethai dros ein henaid
2 *beilchion.* ddyfroedd [2] chwyddedig.
6 Bendigedig *fyddo* yr ARGLWYDD,
yr hwn ni roddodd ni yn ysglyfaeth
i'w dannedd hwynt.
b Ps. 91. 3. Diar. 6. 5. 7 Ein henaid a ddïangodd [b] fel
aderyn o fagl yr adarwyr: y fagl a
c Ps. 121. 2. dorrwyd, a ninnau a ddïangasom.
8 [c] Ein porth ni *sydd* yn enw yr
ARGLWYDD, yr hwn a wnaeth nef-
oedd a daear.

## PSALM CXXV.

1 *Dïogelwch y rhai sydd yn ymddiried yn Nuw. 4 Gweddi dros y duwiol, ac yn erbyn yr annuwiol.*

Caniad y graddau.

Y RHAI a ymddiriedant yn yr
ARGLWYDD, *fyddant* fel myn-
ydd Sïon, *yr hwn* ni syflir, *ond* a
bery yn dragywydd.
2 *Fel y mae* Jerusalem *a'r* myn-
yddoedd o'i hamgylch; felly *y
mae* yr ARGLWYDD o amgylch ei
bobl, o'r pryd hwn hyd yn dragy-
wydd.
3 Canys [a] ni orphwys gwïalen an- a Diar. 22. 8. Es. 14. 5.
nuwioldeb ar randir y rhai cyf-
iawn; rhag i'r rhai cyfiawn estyn
eu dwylaw at anwiredd.
4 O ARGLWYDD, gwna ddaioni i'r
rhai daionus, ac i'r rhai uniawn yn
eu calonnau.
5 Ond y rhai a ymdroant i'w [b] tro- b Diar. 2. 15.
feydd, yr ARGLWYDD a'u gyrr gyd
â gweithredwyr anwiredd: *a bydd*
[c] tangnefedd ar Israel. c Ps. 128. 6. Gal. 6. 16.

## PSALM CXXVI.

1 *Yr eglwys, wrth ddangos coffa o'i rhyfeddol ymwared allan o gaethiwed, 4 yn gweddïo am lwyddiant, ac yn ei brophwydo.*

Caniad y graddau.

PAN [2] ddychwelodd yr AR- 2 Heb. *ddychwelodd ddychweliad.*
GLWYDD gaethiwed Sïon, [a] yr
oeddym fel rhai yn breuddwydio. a Act. 12. 9.
2 Yna [b] y llanwyd ein genau â b Job 8. 21.
chwerthin, a'n tafod â chanu: yna
y dywedasant ym mysg y cenhedl-
oedd, Yr ARGLWYDD a [3] wnaeth 3 Heb. *fawrhaodd wneuthur i'r*, &c.
bethau mawrion i'r rhai hyn.
3 Yr ARGLWYDD a wnaeth i ni
bethau mawrion; *am hynny* yr
ydym yn llawen.
4 Dychwel, ARGLWYDD, ein caeth-
iwed ni, fel yr afonydd yn y dehau.
5 [c] Y rhai sydd yn hau mewn c Edrych Jer. 31. 9, &c.
dagrau, a fedant mewn [4] gorfoledd. 4 Neu, *cân.*
6 Yr hwn sydd yn myned rhagddo,
ac yn wylo, gan ddwyn [5] had gwerth- 5 Neu, *had-lestr.*
fawr, gan ddyfod a ddaw mewn gor-
foledd, dan gludo ei ysgubau.

## PSALM CXXVII.

1 *Rhinwedd bendithion Duw. 3 Dawn Duw yw plant rhinweddol.*

Caniad y graddau, [2] i Solomon.

OS yr ARGLWYDD nid adeilada 2 Neu, *o'r eiddo*, Ps. 72, titl.
y tŷ, ofer y llafuria ei adeilad-
wyr wrtho: os [a] yr ARGLWYDD ni a Ps. 121. 3, 4, 5.
cheidw y ddinas, ofer y gwylia y
ceidwad.
2 Ofer i chwi fore-godi, myned
yn hwyr i gysgu, bwytta bara gof-
idiau: felly y rhydd efe hûn i'w
anwylyd.
3 Wele, [b] plant *ydynt* etifedd- b Gen. 33. 5. a 48. 4. Jos. 24. 3, 4.
iaeth yr ARGLWYDD: [c] *ei* wobr *ef* c Deut. 28. 4.
*yw* ffrwyth y groth.
4 Fel *y mae* saethau yn llaw y cad-
arn; felly *y mae* plant ieuengctid.
5 Gwŷn *ei* fyd y gwr a lanwodd ei

gawell saethau â hwynt: [d] nis gwar-
adwyddir hwy, pan [3] ymddiddanant
â'r gelynion yn y porth.

## PSALM CXXVIII.

*Yr amryw fendithion sydd yn canlyn y rhai a ofnant Dduw.*

Caniad y graddau.

[a] GWYN *ei* fyd pob un sydd yn
ofni yr ARGLWYDD; yr hwn
sydd yn rhodio yn ei ffyrdd ef.
2 [b] Canys mwynhêi lafur dy ddwy-
law: gwŷn dy fyd, a da *fydd* i ti.
3 Dy wraig *fydd* fel gwinwydden
ffrwythlawn ar hyd ystlysau dy dŷ:
dy blant fel planhigion olew-wydd
o amgylch dy ford.
4 Wele, fel hyn yn ddïau y ben-
dithir y gwr a ofno yr ARGLWYDD.
5 [c] Yr ARGLWYDD a'th fendithia all-
an o Sïon; a thi a gei weled daioni
Jerusalem holl ddyddiau dy einioes.
6 A thi a gei weled plant dy blant,
*a* [d] thangnefedd ar Israel.

## PSALM CXXIX.

*1 Y mae yn annog i foliannu Duw, am gadw Israel yn ei fawr gystuddiau. 5 Melldithio y rhai a gasânt eglwys Dduw.*

Caniad y graddau.

LLAWER gwaith y'm cystudd-
iasant [a] o'm hieuengctid, [b] y
dichon Israel ddywedyd yn awr:
2 Llawer gwaith y'm cystuddiasant
o'm hieuengctid: etto ni'm gorfuant.
3 Yr arddwyr a arddasant ar fy
nghefn: estynasant eu cwysau yn
hirion.
4 Yr ARGLWYDD *sydd* gyfiawn: efe
a dorrodd raffau y rhai annuwiol.
5 Gwaradwydder hwy oll, a gyrrer
yn eu hol, y rhai a gasânt Sïon.
6 Byddant fel glaswellt pen tai, yr
hwn a wywa cyn y [2] tynner ef ymaith:
7 A'r hwn ni leinw y pladurwr ei
law; na'r hwn fyddo yn rhwymo
yr ysgubau, ei fynwes.
8 Ac ni ddywed y rhai a ânt heib-
io, [c] Bendith yr ARGLWYDD arnoch:
bendithiwn chwi yn enw yr AR-
GLWYDD.

## PSALM CXXX.

*1 Y Psalmydd yn dangos ei obaith mewn gweddi: 5 a'i ddïoddefgarwch mewn gobaith. 7 Y mae yn annog Israel i obeithio yn Nuw.*

Caniad y graddau.

O'R [a] dyfnder y llefais arnat, O
ARGLWYDD.
2 ARGLWYDD, clyw fy llefain;
ystyried dy glustiau wrth lef fy
ngweddïau.
3 [b] Os creffi ar anwireddau, AR-
GLWYDD, O ARGLWYDD, pwy a saif?

d Edrych Job 5. 4. Diar. 27. 11.
3 Neu, *ddarostyngant y gelynion;* megis Ps. 18. 47. neu, *ddifethant.*
a Ps. 122. 1. a 115. 13. a 119. 1.
b Es. 3. 10.
c Ps. 134. 3.
d Ps. 125. 5.
a Edrych Ezec. 23. 3. Hos. 2. 15. a 11. 1.
b Ps. 124. 1.
2 *tyfo.*
c Ruth 2. 4.
a Galar. 3. 55. Jonah 2. 2.
b Ps. 143. 2.

4 Ond *y mae* gyd â thi faddeu-
ant, fel [c] y'th ofner.
5 [d] Disgwyliaf am yr ARGLWYDD,
disgwyl fy enaid, ac yn ei air ef y
gobeithiaf.
6 [e] Fy enaid *sydd yn disgwyl* am
yr ARGLWYDD yn fwy nag *y mae*
y gwylwyr am y bore; [2] *yn fwy
nag y mae* y gwylwyr am y bore.
7 Disgwylied Israel am yr AR-
GLWYDD; o herwydd [f] *y mae* tru-
garedd gyd â'r ARGLWYDD, ac aml
ymwared gyd âg ef.
8 Ac [g] efe a wared Israel oddi
wrth ei holl anwireddau.

## PSALM CXXXI.

*1 Dafydd yn dangos ei ostyngeiddrwydd; 3 ac yn annog Israel i obeithio yn Nuw.*

Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

O ARGLWYDD, nid ymfalch-
ïodd fy nghalon, ac nid ym-
ddyrchafodd fy llygaid: [a] ni rodiais
chwaith mewn pethau rhy fawr, a
rhy [2] uchel i mi.
2 Eithr gosodais a gostegais fy
enaid, [b] fel un wedi ei ddiddyfnu
oddi wrth ei fam: fy enaid *sydd*
ynof fel un wedi ei ddiddyfnu.
3 Disgwylied Israel wrth yr AR-
GLWYDD, o'r [3] pryd hwn hyd yn
dragywydd.

## PSALM CXXXII.

*1 Dafydd yn ei weddi yn dangos i Dduw ei dduwiol ofal dros yr arch; 8 yn gweddïo wrth symmudo yr arch; 11 ac yn ail-adrodd addewidion Duw iddo.*

Caniad y graddau.

O ARGLWYDD, cofia Dafydd,
*a'i* holl flinder:
2 Y modd y tyngodd efe wrth
yr ARGLWYDD, *ac* yr addunodd i
[a] rymmus *DDUW* Jacob;
3 Ni ddeuaf i fewn pabell fy nhŷ,
ni ddringaf ar erchwyn fy ngwely;
4 [b] Ni roddaf gwsg i'm llygaid, *na*
hûn i'm hamrantau,
5 Hyd oni chaffwyf le i'r AR-
GLWYDD, [2] preswylfod i rymmus
*DDUW* Jacob.
6 Wele, clywsom am dani yn
Ephratah: [c] cawsom hi ym meus-
ydd y coed.
7 Awn i'w bebyll ef; [d] ymgrym-
mwn o flaen ei faingc draed ef.
8 [e] Cyfod, ARGLWYDD, i'th or-
phwysfa; ti, ac arch dy gadernid.
9 [f] Gwisged dy offeiriaid gyfiawn-
der; a gorfoledded dy saint.
10 Er mwyn Dafydd dy was, na
thro ymaith wyneb dy Eneiniog.
11 [g] Tyngodd yr ARGLWYDD *mewn*

c 1 Bren. 8. 40. Ps. 2. 11. Jer. 33. 9.
d Ps. 27. 14. a 33. 20. a 40. 1. Es. 8. 17. a 30. 18.
e Ps. 63. 6. a 119. 147.
2 Neu, *y rhai sydd yn gwylied am y bore.*
f Ps. 86. 5, 15.
g Ps. 103. 3, 4.
a Rhuf. 12. 16.
2 Heb. *ryfedd.*
b Matt. 18. 3. 1 Cor. 14. 20.
3 Heb. *awr hon.*
Cylch 1004.
a Gen. 49. 24.
b Diar. 6. 4.
2 Heb. *preswylfeydd.*
c 1 Sam. 7. 1.
d Ps. 5. 7. a 99. 5.
e Num. 10. 35. 2 Chron. 6. 41, 42.
f Job 29. 14. Es. 61. 10.
g Ps. 89. 3, 4, 33, &c. a 110. 4.

gwirionedd i Dafydd; ni thry efe oddi wrth hynny; [h] O ffrwyth dy [3]gorph y gosodaf ar dy orsedd-faingc.

12 Os ceidw dy feibion fy nghyfammod a'm [4] tystiolaeth, y rhai a ddysgwyf iddynt; eu meibion hwythau yn dragywydd a eisteddant ar dy orsedd-faingc.

13 Canys dewisodd yr ARGLWYDD Sïon: *ac a'i* chwennychodd yn drigfa iddo ei hun.

14 [i] Dyma fy ngorphwysfa yn dragywydd: yma y trigaf; canys chwennychais hi.

15 [k] Gan fendithio y bendithiaf ei lluniaeth: diwallaf ei thlodion â bara.

16 [l] Ei hoffeiriaid hefyd a wisgaf âg iachawdwriaeth: a'i saint dan ganu a ganant.

17 [m] Yna y paraf i gorn Dafydd flaguro: darperais [5] lamp i'm Heneiniog.

18 Ei elynion ef a wisgaf â chywilydd: arno yntau y blodeua ei goron.

h 2 Sam. 7. 12. 1 Bren. 8. 25. 2 Chron. 6. 16. Luc 1. 69. Act. 2. 30.
3 Heb. *fru.*
4 *tystiolaethau.*
i Ps. 68. 16.
k Ps. 147. 14.
l 2 Chron. 6. 41. Ps. 149. 4.
m Ezec. 29. 21. Luc 1. 69.
5 Neu, *ganwyll:* Edrych 1 Bren. 11. 36. a 15. 4. 2 Chron. 21. 7.

## PSALM CXXXIII.

*Budd cymmundeb y saint.*

Caniad y graddau, o'r eiddo Dafydd.

WELE, mor ddaionus ac mor hyfryd *yw* [a] trigo o frodyr ynghyd!

2 *Y mae* fel [b] yr ennaint gwerthfawr ar y pen, yn disgyn ar hyd y farf, *sef* barf Aaron; yr hwn *oedd* yn disgyn ar hyd ymyl ei wisgoedd ef:

3 Fel gwlith [c] Hermon, *ac fel y gwlith* yn disgyn ar fynyddoedd Sïon: canys [d] yno y gorchymynodd yr ARGLWYDD y fendith, *sef* bywyd yn dragywydd.

a Gen. 13. 8.
b Exod. 30. 25, 30.
c Deut. 4. 48.
d Lef. 25. 21. Deut. 28. 8. Ps. 42. 8.

## PSALM CXXXIV.

*Y mae yn annog i fendithio Duw.*

Caniad y graddau.

WELE, [a] holl weision yr ARGLWYDD, bendithiwch yr ARGLWYDD, [b] y rhai ydych yn sefyll yn nhŷ yr ARGLWYDD y nos.

2 Dyrchefwch eich dwylaw [2] *yn* y cyssegr; a bendithiwch yr ARGLWYDD.

3 [c] Yr ARGLWYDD yr hwn a wnaeth nefoedd a daear, a'th fendithio di allan o Sïon.

a Ps. 135. 1, 2.
b 1 Chron. 9. 33.
2 Neu, mewn *sancteiddrwydd.*
c Ps. 128. 5.

## PSALM CXXXV.

1 *Y mae yn annog i glodfori Duw, am ei drugaredd,* 5 *am ei allu,* 8 *ac am ei farnedigaethau.* 15 *Ofered yw eilunod.* 19 *Y mae yn annog i fendithio Duw.*

MOLWCH yr ARGLWYDD. Molwch enw yr ARGLWYDD; [a] gweision yr ARGLWYDD, molwch *ef.*

2 Y rhai ydych yn sefyll yn nhŷ yr ARGLWYDD, y'nghynteddoedd tŷ ein DUW ni,

3 [b] Molwch yr ARGLWYDD; canys da *yw* yr ARGLWYDD: cenwch i'w enw; canys hyfryd *yw.*

4 Oblegid [c] yr ARGLWYDD a ddetholodd Jacob iddo ei hun, *ac* Israel yn brïodoriaeth iddo.

5 Canys mi a wn mai [d] mawr *yw* yr ARGLWYDD; a *bod* ein Harglwydd ni goruwch yr holl dduwiau.

6 [e] Yr ARGLWYDD a wnaeth yr hyn oll a fynnai yn y nefoedd, ac yn y ddaear, yn y môr, ac yn yr holl ddyfnderau.

7 [f] Y mae yn codi tarth o eithafoedd y ddaear; [g] mellt a wnaeth efe ynghyd â'r gwlaw; gan ddwyn y gwynt allan o'i drysorau.

8 [h] Yr hwn a darawodd gyntafanedig yr Aipht, [2] yn ddyn ac yn anifail.

9 [i] Danfonodd arwyddion a rhyfeddodau i'th ganol di, yr Aipht; ar Pharaoh, ac ar ei holl weision.

10 [k] Yr hwn a darawodd genhedloedd lawer, ac a laddodd frenhinoedd cryfion;

11 Sehon brenhin yr Amoriaid, ac Og brenhin Basan, a [l] holl frenhiniaethau Canaan:

12 [m] Ac a roddodd eu tir hwynt *yn* etifeddiaeth, yn etifeddiaeth i Israel ei bobl.

13 [n] Dy enw, O ARGLWYDD, *a bery* yn dragywydd; dy goffadwriaeth, O ARGLWYDD, [3] o genhedlaeth i genhedlaeth.

14 [o] Canys yr ARGLWYDD a farna ei bobl, a bydd edifar ganddo o ran ei weision.

15 [p] Delwau y cenhedloedd *ydynt* arian ac aur, gwaith dwylaw dyn.

16 Genau sydd iddynt, ond ni lefarant; llygaid sydd ganddynt, ond ni welant.

17 Y mae clustiau iddynt, ond ni chlywant; nid oes chwaith anadl yn eu genau.

18 Fel hwynt y mae y rhai a'u gwnant, a phob un a ymddiriedo ynddynt.

19 [q] Tŷ Israel, bendithiwch yr ARGLWYDD: bendithiwch yr ARGLWYDD, tŷ Aaron.

20 Tŷ Lefi, bendithiwch yr AR-

a Ps. 134. 1.
b Ps. 147. 1.
c Exod. 19. 5. Deut. 7. 6, 7. a 10. 15.
d Ps. 95. 3. a 97. 9.
e Ps. 115. 3.
f Jer. 10. 13. a 51. 16.
g Job 28. 25, 26. a 38. 24, &c. Zech. 10. 1.
h Exod. 12. 12, 29. Ps. 78. 51. a 136. 10.
2 Heb. *o ddyn hyd anifail.*
i Exod. 7, a 8, a 9, a 10, a 14.
k Num. 21. 24, 25, 26, 34, 35. Ps. 136. 17, &c.
l Jos. 12. 7.
m Ps. 78. 55. a 136. 21, 22.
n Exod. 3. 15. Ps. 102. 12.
3 Heb. *i genhedlaeth a chenhedlaeth.*
o Deut. 32. 36.
p Ps. 115. 4, 5, 6, 7, 8.
q Ps. 115. 9, &c.

